# Y PWLPUD A'R WASG

SEF

## CYFROL O BREGETHAU

A

# THRAETHODAU.

GAN Y

PARCH. A. WILLIAMS

YSTRAD-RHONDDA.

---

"*Y neb a ddarlleno, ystyried.*"—MATT. xxiv. 15.

---

TREORKY:

ARGRAFFWYD GAN DANIEL DAVIES.

# RHAG-NODIAD.

GYDA llawer o bryder y cyflwynir hyn o lafur anmherffaith i sylw y cyhoedd. Rhaid addef mai cryn ychwanegiad at ddyledswyddau beunyddiol y weinidogaeth sefydlog ydyw darparu cyfrol fechan fel hon i'r wasg, yn enwedig i weithiwr mor araf ag ydyw yr awdwr; er hyny cafodd lawer o bleser ac adeiladaeth iddo ei hun wrth ei pharotoi.

Gan mae y gyfrol hon ydyw cyntafanedig yr awdwr trwy y wasg, dymuna ar y darllenydd i arfer tynerwch pan yn defnyddio ei wyntyll feirniadol. Nid oes angen bod yn graffus i ganfod lluaws o ddiffygion ynddi, a phe yn wahanol, buasai yn eithriadol i weithredoedd dynion. Tebyg yn cynnyrchu tebyg a welir yn mhob man. "A gasgl rai rawnwin oddiar ddrain, neu ffigys oddiar ysgall?" Tra y carasai yr awdwr iddi fod yn llawer rhagorach nag ydyw, diolcha i'r Arglwydd ei bod cystal.

Y mae cyfrol o natur hon yn debyg o syrthio i ddwylaw dau ddosbarth o ddarllenwyr, sef, y rhai hyny a feddant amser a hoffder i ddarllen erthyglau meithion, a rhai nad oes ganddynt ond eu horiau hamddenol ar ol llafur caled y dydd i ddarllen a myfyrio. Fe wel y darllenydd oddiwrth y gwahaniaeth sydd yn hyd y pregethau a'r traethodau, fod ein llygad pan yn ysgrifenu, ar y ddau ddosbarth crybwylledig.

Dywedai y diweddar Mathetes fod ei bregethau byrion yn cymmeryd yn well gyda y lluaws na'r rhai meithion, ac iddo, o herwydd hyny, dalfyru amryw o honynt yn y rhan olaf o'i *Areithfa*.

Y mae y mwyafrif o ddarllenwyr Cymreig yn cael eu gwneyd i fyny o'r radd weithgar; a sylwasom cyn hyn ar rai yn troi y dalenau er gweled hyd yr erthygl cyn dechreu ei darllen, yr hon, os byddai yn faith iawn, a adewid o'r neilldu heb ei darllen o gwbl. Nodweddir lluaws o'n hesboniadau diweddar, yn y ddwy iaith, gan fyrdra, a hyny er mwyn iddynt fod yn gyfaddas i'r dosbarth gweithiol a masnachol. Efelychwyd hwy hyd ag y gellid yn ysgrifau byrion y gwaith hwn.

Cafwyd anogaethau calonog i fyned yn mlaen gan amryw o frodyr enwog, yn y weinidogaeth, a chefnogaeth wresog gan y mwyafrif o'r tanysgrifwyr, am yr hyn yr ydym yn dra diolchgar.

Cyflwynir y gwaith fel ag y mae i sylw a hynawsedd y darllenydd, gan obeithio y bydd iddo brofi yn foddion argyhoeddiad i'r annychweledig, yn gyssur a diddanwch i'r saint, ac yn ogoniant i Dduw.

YR AWDWR.

*Tachwedd*, 1883.

# CYNNWYSIAD.

When in the pulpit, I endeavour to speak as a christian minister; but when on the political platform, I speak in the capacity of a British subject, and a ratepayer.

*Dr. Jones, Llangollen.*

## GWELLIANT GWALLAU.

Er pob gofal gyda chywiro y prawfleni, dygwyddodd i ychydig wallau ddianc ein sylw. Gall y darllenydd yn hawdd eu diwygio, ond eu nodi yma.

Yn tud. 33, llinell 24, yn lle "diesmwythder," darllener "*disymmythdra*."

Yn tud. 44, llinell 12, darllener "Cyn nos *dranoeth*."

Yn tud. 78, llinell 4, yn lle "sychu," darllener "*nychu*."

Etto etto 45, yn lle "lunir," darllener "*lunier*."

Yn tud. 86, llinell isaf, darllener "oeri *ei* dafod."

# PREGETH I.

## Y TRI CROESHOELIEDIG.

"Ac un o'r drwg-weithredwyr a grogasid a'i cablodd Ef, gan ddywedyd, Os tydi yw Crist, gwared dy hun a ninnau. Eithr y llall a atebodd, ac a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd, Onid wyt ti yn ofni Duw, gan dy fod dan yr un ddamnedigaeth? A nyni yn wir yn gyfiawn; canys yr ydym yn derbyn yr hyn a haeddai y pethau a wnaethom: eithr Hwn ni wnaeth ddim allan o'i le. Ac efe a ddywedodd wrth yr Iesu, Arglwydd, cofia fi pan ddelych i'th deyrnas. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Yn wir meddaf i ti, Heddyw y byddi gyd â mi yn mharadwys."--Luc xxiii. 39—43.

AR un ystyriaeth, y man mwyaf annifyr ar y ddaear i arwain cynnulleidfa iddo ydyw Calfaria,—y lle yr oedd y drwg-weithredwyr gwaethaf yn terfynu eu hoes ddaearol mewn gwarth.

Y mae yn arbenig felly ar un olwg yn yr amgylchiad dan ein sylw. Y mae y werin wedi ymlenwi o gynddaredd at y diniwed; mae y nefoedd wedi attal ei chynnorthwyon a'i chydymdeimlad; y mae hyny o gyfeillion oedd ganddo ar y ddaear wedi cefnu arno; a'i elynion, yn ddynion ac ysbrydion aflan, wedi cyrhaedd anterth eu nerth mewn ym-

osodiad. Yn yr amgylchiad hwn yn unig y ceir cyflawniad llythyrenol o'r broffwydoliaeth hono,—"Sethrais y gwinwrŷf fy hunan, ac o'r bobl nid oedd un gyda mi."

Ond ar ystyriaeth arall, Calfaria yw y man mwyaf dymunol i fyned iddo. Pan gofir fod bys Duw yn nglyn â'r amgylchiadau, yn goruwch-lywodraethu drwg amcanion dynion, er dwyn oddiamgylch iachawdwriaeth y byd, mae yn anhawdd i blant yr Arglwydd beidio talu ymweliad mynych â'r lle, a dywedyd,

"Pen Calfaria,
Nac aed hwnw byth o'm cof."

Y mae dau wyneb i bob dalen; felly i'r amgylchiad hwn. Os yn Nghalfaria y bu uffern ar ei goreu yn ceisio damnio y byd, yn yr un lle, ac ar yr un adeg y bu'r nefoedd hefyd ar ei goreu i'w achub: a pha mor uchel bynnag y cododd llanw gelyniaeth y diwrnod hwnw, fe gododd *tide* y cariad dwyfol yn anfeidrol uwch: "Lle yr amlhaodd y pechod, y rhagor amlhaodd gras." Ni a adawn y werin sydd yn poblogi'r lle, ac edrychwn ar y tri croeshoeliedig sydd yn dyoddef ac yn marw yn eu gwydd.

Bwriadwn edrych ar y tri croeshoeliedig hyn fel y maent yn cynnrychioli y tri gallu moesol cryfaf a mwyaf dylanwadol sydd ar waith yn y byd hwn:—Gallu pechod; gallu gras; a gallu trugaredd.

I. Ar un groes ceir yr olwg gyflawnaf ar ddylanwad eithafol pechod. "Ac un o'r drwg-weithredwyr a groganid a'i cablodd Ef, gan ddywedyd, Os tydi yw Crist, gwared dy hun a ninnau."

Y mae yn anmhossibl peidio synu at waith y penaethiaid

a'r milwyr, yn medru cablu a gwatwar dan y fath amgylchiadau. Yr oedd eu gelyniaeth at Fab Duw wedi cyrhaedd y fath uchafnod, fel ag i omedd iddo lonyddwch i fyw na marw.

Ond yr ydym yn synu mwy, pe byddai lle, at gabledd y truan hwn oedd wedi ei gondemnio i farw,—yr hwn oedd yn ymyl terfynu yr oes hon, a dechreu yn nhragywyddoldeb! Sicr mai nid ar unwaith y meddiannwyd ef gan y fath galedrwydd â hwn. Rhaid ei fod wedi cynefino â phechod,—wedi alltudio pob olion o dynerwch, ofn, a chyfrifoldeb allan o'i natur. Ni fuasem yn meiddio dychymmygu fod pechod yn meddu dylanwad mor eithafol ar y natur ddynol, oni bai yr ennghreifftiau sydd genym o'i weithrediadau.

*Mae yn bossibl bod yn ymyl y da mwyaf heb dderbyn ei ddaioni.* Y mae hwn yn mynu myned i uffern o ymyl y Ceidwad; yn damnio ei hun ar ddydd rhoddiad yr Iawn, a hyny yn ymyl yr Hwn a osododd Duw yn Iawn dros bechodau. Mor hawdd fuasai iddo ddyddio ei gadwedigaeth o'r man lle yr oedd, a *bookio* ei enaid o'r groes i'r gogoniant! Y mae hyn yn wir am bob gwrandawr anufudd i'r efengyl; deuir o hyd iddo gan y dialydd megys ar drothwy y ddinas noddfa; y mae yn marw o fewn cam i'r bywyd, ac yn myned i wlad yr wylo o sŵn caniadau Seion.

*Nid yw y dyoddefiadau corfforol mwyaf dirdynol yn effeithiol ynddynt eu hunain i gyfnewid cyflwr y dyoddefydd.* Dichon y gallem nodi ennghreifftiau o Ysbryd Duw yn gwneyd defnydd o amgylchiadau neillduol i ddwyn dynion uwchben eu cyflwr, megys tlodi, clefydau, damweiniau, &c.

Ni charem awgrymu nad yw cyfryngau argyhoeddiad yn llaw yr Ysbryd yn lluaws mawr. Ond rhaid i ni gredu fod ochr arall i'r cwestiwn ; oblegyd dyma ennghraifft o enaid colledig yn y dyoddefiadau corfforol mwyaf dirdynol,—dyn ag Ysbryd yr Arglwydd wedi ei adael i fedi o ffrwyth ei ddrygioni. Dichon ei fod yn bossibl cael crefydd ar wely angau. Ni charem ddigaloni neb sydd yn y cyfryw amgylchiad, nac awgrymu terfyn i drugaredd yr Hwn sydd yn medru achub hyd yr eithaf. Ond nid pawb sydd yn cael gwely cystudd cyn marw ; y mae miloedd o eneidiau yn myned i fyd arall o gyrff iach, heb gymmaint ag eiliad o afiechyd. Ac nid pawb sydd yn cael cystudd sydd yn cael hamdden i feddwl am fater eu heneidiau, gan gymmaint eu dyoddefiadau corfforol.

Rhyfyg o'r mwyaf ydyw mentro hyd yr adeg hono, oblegyd mae llawer o dwyll a rhagrith yn fynych mewn crefydd gwely cystudd. Bu galwad arnom cyn hyn i ymweled â phersonau digrefydd yr ofnid eu bod yn marw ; ceid ynddynt arwyddion eu bod mewn teimlad tra edifeiriol am bechod, ac addunedau o newydd-deb buchedd os gwelai yr Arglwydd yn dda iddynt gael gwella. Pe cymmerid hwy ymaith yn y cystudd hwnw, buasem yn rhwym o gredu'r goreu am eu cyflwr. Ond yn ol eu dymuniad, cawsant eu harbed a'u hadferyd i'w hiechyd ; ond er ein siomedigaeth, yn lle gadael eu ffyrdd drygionus a dychwelyd at yr Arglwydd, troisant allan i arwain bywyd mwy annuwiol nag erioed.

Y tymhor sicraf i geisio crefydd yw tymhor bywyd ; nid yn angeu y mae crefydd wedi ei haddaw, ond mewn bywyd erbyn angeu.

Mewn ystorm ar y môr unwaith, pryd yr ofnid mai boddi fuasai eu rhan, aeth yr oll o'r dwylaw ond y cadben i weddïo; gadawyd ef wrtho ei hun i ymdaro â'r ddryc-hin, a cheisio arbed y llestr rhag suddo. Yn mhen rhai oriau, wedi i'r gwynt dawelu a'r môr lonyddu, dywedodd rhai o honynt wrth eu meistr, eu bod yn synu na fuasai ef, ac yntau yn arfer gweddïo, yn uno gyda hwy yn ngwyneb y fath berygl ag oeddent wedi bod ynddo. Ei atebiad oedd, "Pe buaswn i fel chwi, mwy na thebyg y buasai y llong yn y gwaelod cyn hyn; ar dywydd teg y dylid gweddïo, a gofalu am y llong ar dywydd garw." Nid adeg i *geisio* crefydd yw angeu, ond adeg i'w *mwynhau*. Mae y dyn sydd yn aros i'r nos ei ddal cyn chwilio am olew yn ei lamp, yn ymddwyn yn annoeth. Nid ar *ol* i'r tŷ gymmeryd tân y bydd neb yn yswirio ei ddodrefn, ond *cyn* hyny. Gresyn fod cynnifer yn peryglu iachawdwriaeth eu heneidiau hyd ddiwedd einioes, heb ystyried mai yn awr yw yr amser cymmeradwy a dydd yr iachawdwriaeth.

Nid amheu gallu na pharodrwydd Duw i faddeu yn awr angeu yr ydym, ond ofni y bydd pechod erbyn hyny wedi ein hannghymhwyso ni i ofyn am dano, y bydd edifeirwch wedi ffarwelio a ni, a'r pelydryn olaf o obaith wedi diffodd yn y fynwes.

II. Gallu Gras. "Eithr y llall a atebodd, ac a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd, Onid wyt ti yn ofni Duw, gan dy fod dan yr un ddamnedigaeth? A nyni yn wir yn gyfiawn; canys yr ydym yn derbyn yr hyn a haeddai y pethau a wnaethom: eithr hwn ni wnaeth ddim allan o'i le. Ac efe a ddywedodd wrth yr Iesu, Arglwydd, cofia fi pan ddelych i'th deyrnas."

Nid ydym yn tybied i ras weithredu yn wahanol yn achos y dyn hwn i'r modd y gweithreda yn achos pob pechadur arall; ond ymddengys iddo weithredu mewn amgylchiad tra annghyffredin y tro hwn, yn yr amgylchiad tebycaf i beidio, pan oedd Awdwr Iachawdwriaeth, i bob golwg ddynol, yn y man iselaf a thywyllaf yn ei hanes. Yr oedd eisieu gras anarferol i weled Ceidwad y ddaear a Brenin y nefoedd yn Mherson Crist yn yr amgylchiad hwn. Mewn rhai amgylchiadau yr oedd yn anhawdd methu ei weled fel y cyfryw. Pan yn porthi'r miloedd, yn rhodio ar y môr, ac yn dystewi twrf ei dònau, yn iachau pob clefyd a phob afiechyd yn mhlith y bobl, yn gorchymmyn i angeu ollwng yn rhydd ei garcharorion, &c., yr oedd Ef yn rhydd a'r holl elfenau yn rhwym i'w ewyllys; ond ar y groes mae Ef yn rhwym, yn wrthodedig a chondemniedig gan y byd. Hwn oedd y tro cyntaf a'r diweddaf i ras weithredu dan y fath amgylchiadau. Gweithredodd hefyd yn gyflymach a mwy uniongyrchol nâ'i reol gyffredin; yn gyffelyb i gyflawniad y wyrth yn mhriodas Cana Galilea. Cyn y daw gwin yn ol trefn gyffredin natur, mae gwasanaeth daear, gwres, gwynt, gwlaw, &c., yn angenrheidiol; ond yn y wyrth hon gwnaed yr oll yn uniongyrchol.

Bernir yn gyffredin mai gwaith graddol ydyw santeiddhad pechadur,—fod yr Ysbryd Glân yn santeiddio moddion ac ordinhadau crefydd at gyflwr y cyfiawnedig i'w gymhwyso yn raddol i ddelw Duw, a'i addasu i'r nef. Gwna ddefnydd o'r pregethu, y gweddio, myfyrio'r gair, &c., i'r dyben hwnw. Ond ymddengys nad ydyw yr Ysbryd Glân yn gaeth i unrhyw reol neillduol, ond y gall gyfaddasu ei hun i'r amgylchiadau y byddo y pechadur ynddynt. Gweith-

redodd yn yr amgylchiad hwn yn gyflym, uniongyrchol, ac yn annibynol ar gyfryngau. Dysgir yma fod gras yn effeithio dylanwad triphlyg ar ei berchenog,—

(1.) *Ei ddwyn i gondemnio pechod*, yr hyn sydd arwydd sicr o gyfnewidiad cyflwr.

(*a*.) Condemnio pechod yn ereill. Mae hwn yn ceryddu ei gyd-ddrwg-weithredwr am ei ryfyg, "Onid wyt ti yn ofni Duw?" Pwy bynag yw y dyoddefydd canol, beth bynag am natur ei drosedd, ac a ddaw o hono yn y dyfodol, dy ddyledswydd di ydyw tewi gan dy fod dan yr un ddamnedigaeth. Mae dy fywyd di fel yr eiddo yntau, yn cael ei gymmeryd ymaith; mae un llys wedi dy gondemnio i farw, a hyny yn gyfiawn, ac nid oes ond megys cam rhyngot â gorfod sefyll mewn llys arall, yn yr hwn y bydd Duw yn eistedd mewn barn ar dy achos. "Onid wyt ti yn ofni Duw?"

(*b*.) Ynddo ei hun. Y weithred fwyaf anhawdd i'r dyn diras ydyw condemnio pechod ynddo ei hun, a chondemnio ei hun am bechu. Nid peth dyeithr iddo ydyw ei gondemnio yn ereill; hyn oedd ymddygiad cyffredin y Phariseaid yn nyddiau Crist a'r apostolion, a pharha yn boblogaidd hyd yn bresenol. Nid yw eu pechodau eu hunain ond gwydrau ar eu llygaid i ganfod pechodau ereill drwyddynt.

Mae pechod y dyn ei hun yn un o'r ffryndiau mwyaf mynwesol a fedd, hyd nes yr argyhoeddir ef o hono; a gras Duw yn unig sydd yn alluog i wneyd,—i ddylanwadu arno o'i fodd i dori'r fraich a thynu'r llygad de, a'u taflu oddi wrtho.

"A nyni yn wir yn gyfiawn," &c. 'Os yw ein dyoddefiadau yn arteithiol, maent yn gyfiawn; os ydym yn marw

mewn gwarth a dirmyg, nid yw ond ein haeddiant. Peth cyfiawn i ddyn yw cael ei gyflog ar ol gweithio, os bydd hyny yn y cytundeb; mae gan bechod ei gyflog, a dyna ydyw, Marwolaeth. Dydd gorphen y cytundeb ydyw heddyw yn ei berthynas â ni yn y byd hwn, a dydd derbyn yn gyfiawn yr hyn a haeddai ein gweithredoedd.'

(2.) *Amddiffyna gymmeriad yr Arglwydd Iesu.* Pa fodd y daeth i wybod am dano, ni wyddis. Dichon iddo ei weled a'i glywed ar ei deithiau; neu ei fod yn y llys ar adeg ei brawf, yn clywed tystiolaeth Pilat am dano; neu gallai mai ei ymadroddion ar y groes,—ei waith yn gweddïo dros ei elynion a effeithiodd arno. Beth bynag, nid oedd yn bossibl cael gwell tystiolaeth i'w gymmeriad nag a geir yma,—"Ni wnaeth ddim allan o'i le."

Mae yn sefyll wrtho ei hun megys ar lan y môr, ac yn troi *tide* y cableddau yn ol i wyneb cyhuddwyr Mab Duw. Fel pe dywedasai, "Fe wnaeth lawer yn ei oes, fwy na phawb ereill gyda'u gilydd, ond *dim* allan o'i le. Fe borthodd y miloedd yn yr anialwch, derbyniodd bechadur-iaid, cododd feirw, iachaodd gleifion, bwriodd gythreuliaid allan o ddynion, cydymdeimlodd â'r trallodedig, maddeuodd anwiredd, a chamwedd, a phechod, &c.; ond nid oedd dim yn un o'r pethau hyn allan o'i le. Ac er marw gyda ni yn bresenol yn y cymmeriad o ddrwg-weithredwr, mae fy nhystiolaeth mewn grym am dano, a daliaf i ddweyd tra anadl ynof, "Na wnaeth, &c., ddim allan o'i le."

(3.) *Erfyniad gostyngedig am ei ffafr.* Mae hwn yn ddigon ysbrydol ei olygon i ganfod 'Arglwydd' yn mherson y gwr canol. Yn nghyfrif y lluaws nid oedd ond llygredig ei wedd yn anad neb, "yn ddirmygedig a'r diystyraf o'r

gwyr," &c. Ond er bod dan y goron ddrain, dyma hwn yn ei gydnabod yn frenin y byd a ddaw, ac â'i ffydd yn cydio gafael yn nghoron paradwys i'w rhoddi ar ei ben, ac yn erfyn cael ei gofio ganddo yn ei freniniaeth,—"Cofia fi."

Yr oedd cael ei gofio gan Iesu yn ddigon ganddo; nid yw yn gofyn am ddim arall; credai fod ei gofio Ef yn cynnwys holl eisieu pechadur, ac y mae hefyd. Mae ei gofio Ef yn cyrhaedd o ddyfnder trueni i fyny hyd uchelion nef y nef,—yn cynnwys cyfiawnhad bywyd, santeiddhad buchedd, a maddeuant llwyr a rhad.

Mae ei weddi yn un hynod o bersonol,—"Cofia *fi*." Dylem ddiolch i'r Arglwydd am gyfleusderau i gynnwys ereill yn ein gweddïau, a bod yn gyfled â'r iawn yn ein dymuniadau; ond y mae yr adeg heb fod yn mhell, pan fyddwn yn crynhoi ein gweddïau i ryw un *focus*, ac yn canolbwyntio ein holl ddymuniadau ynom ein hunain. Pan bydd y fynedfa yn rhy gul, tywell, a garw i geraint a chyfeillion ddyfod yn mhellach, mor hyfryd fydd teimlo fod ei bresenoldeb Ef gyda ni yn chwalu ofnadwyaeth glyn cysgod angeu. Gofala bechadur am sicrhau ei wasanaeth mewn pryd.

III. Gallu Trugaredd. "A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Yn wir meddaf i ti, Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys."

Mae yr Arglwydd Iesu tra ar y groes, yn profi ei awdurdod ar ddau fath o farwolaeth. Mae yn profi ei allu ar farwolaeth naturiol yn ei berthynas ag Ef ei hun. Yr oedd Ef wrth farw yn gweithredu arno ei hun. Gorfod marw, a dyoddef marw heb allu i beidio y mae pawb ereill. Yn groes

i'w ewyllys mae pob dyn yn myned i'r amgylchiad hwn; ond am Iesu, ni fuasai yn *gallu* marw heb roddi caniatad i angeu weithredu arno. Pan yn ewyllysio peidio marw, yr oedd yn gallu dweyd, "Ni ddaeth fy awr i etto;" a phan yn ewyllysio rhoddi ei einioes i lawr, dywedai, "Hon yw eich awr chwi." Ac ar ol i'r gelynion wneyd yr oll oedd yn eu gallu trwy ei ganiatad, bu raid iddo roddi *help* i angeu cyn y gallasai orphen ei waith arno,—llefodd gorphenwyd, gorchymmynodd ei ysbryd i'w Dad, gogwyddodd ei ben, a rhoddodd i fyny yr ysbryd. "Yr oedd ganddo awdurdod ar ei einioes i'w dodi i lawr," &c.

Yn ei berthynas â'r drwg-weithredwr achubedig, mae yn profi ei awdurdod ar farwolaeth ysbrydol. Hyd y mynydau hyn yr oedd enaid y truan hwn yn farw mewn camwedd a phechod, a digofaint Duw yn aros arno ef. Ond nid cynt y gweddïodd am ei gofio, nag y gorchymmynodd y Ceidwad i'r ail farwolaeth ffarwelio â'i enaid am byth, er rhoddi lle i'r bywyd ysbrydol hwnw sydd yn rhoddi hawl a chymhwysder i Baradwys Duw.

Ni wyr neb sydd yn fyw faint gipiodd y lleidr hwn yn ystod ei oes, trwy drais ac anghyfiawnder; ond gwyddom iddo gipio mwy wrth farw nag a wnaeth yn ei holl fywyd,—cipiodd fywyd i'w enaid, a'i enaid i baradwys. Yn y boreu yr oedd yn rhy annheilwng i fyw yn mysg dynion, rhaid felly ei fod yn ddrwg iawn; ond erbyn nos, yr oedd yn ddigon teilwng i fyw gydag angylion mewn byd dibechod, rhaid felly ei fod yn lân iawn.

*Gwelwn yma fod trugaredd yn yr amgylchiad hwn yn gweithredu ar gymmeriad na chafodd ei hawdwr ddim clod oddiwrth ei fywyd dilynol yn y byd hwn.* Mae dau

amcan i waith trugaredd ar gyflwr dyn, sef ei ddyogelwch ei hun, a'i wasanaethgarwch i ereill; ac yn gyssylltiedig â'r ddau beth hyn y deillia y clod dyledus i'r Arglwydd o'r byd hwn. Nid gorchwyl cyfyngedig i breswylwyr y nefoedd yw mynegu rhinweddau yr Hwn a'u galwodd o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni Ef, ond prif orchwyl y cadwedigion ar y ddaear hefyd. Pa beth sydd yn cyfrif fod pobl yr Arglwydd yn cael eu gadael yma am flynyddoedd ar ol eu cyfiawnhau? Yr ateb debygem ydyw, i fod yn oleuni y byd a halen y ddaear. Yr oedd y gwr hwnw o Gadarenia am ddilyn yr Iesu i'r tu arall i Fôr Galilea, ond cafodd ei rwystro ganddo. Yr oedd ei eisieu yn ei wlad a'i gymmydogaeth ei hun i fynegu trugaredd yr Arglwydd i'w berthynasau a'i gymmydogion,—"Dos at yr eiddot a mynega," &c.

Mae Duw yn gadael ei bobl yn y byd er mwyn dangos ei hawl ynddo. Un o'r pethau cyntaf a wna llywodraeth Prydain ar ol perchenogi tir newydd ydyw, codi y lluman Prydeinig i fyny, er dangos y meddiant o hono, a phennodi ar swyddogion i'w chynnrychioli a gwylied eu buddiannau. Cymmerwyd y cyfandir hwn trwy drais oddiar ei iawn berchenog; a chymmerodd tywysog y byd hwn fantais ar gwymp dyn i godi banner buddugoliaeth arno. Ond ni therfynodd yr ymrafael yn y fan yna; penderfynodd Duw gael y ddaear yn ol i'w feddiant ei hun, ac i'r perwyl hwn, cyhoeddodd y byddai i frwydr gymmeryd lle rhwng y trawsfeddiannydd a 'hâd y wraig;' ac yn hono fe ddygwyd y caffaeliad oddiar y cadarn, sicrhawyd y ddaear i'w hiawn berchenog, a'i gynnrychiolwyr Ef yn edrych ar ol ei fuddiannau ydyw y miliynau credinwyr sydd ar y ddaear heddyw.

Gwir nad yw yr holl waith wedi ei gwblhau etto; cymmerodd lawer o flynyddoedd i genedl Israel gynt i lanhau gwlad yr addewid o'r lluaws llwythau oedd yn ei phoblogi ar ei mynediad iddi. Nid yw yr Arglwydd yn cymmeryd ei bobl i'r nef ar ddydd eu cadwedigaeth; ond rhydd waith iddynt i lanhau y ddaear o'i drain a'i mieri, ac hau hadau rhinwedd a santeiddrwydd moesol yn eu lle; ac er nad yw y gwaith ar ben etto, fe'i gorphenir yn brydlon yn amser priodol Duw. "Yr anialwch a'r annghyfanyddle a lawenychant o'u plegyd; y diffaethwch hefyd a orfoledda, ac a flodeua fel rhosyn. Y crasdir hefyd fydd yn llyn, a'r tir sychedig yn ffynnonau dyfroedd; yn nhrigfa y dreigiau, a'u gorweddfa, y bydd cyfle corsennau a brwyn." (Es. xxxv. 1, 7.)

Ond yn yr ennghraifft dan ein sylw, mae trugaredd yn gweithredu yn eithriadol i'w harferiad cyffredin; yr oedd dydd mynediad hwn i'r nef yn dwyn yr un *date* â dydd symmudiad y ddamnedigaeth, "Heddyw y byddi." Heddyw heb weithio dim yn fy ngwinllan,—heddyw heb ddwyn tystiolaeth i'r byd o waith fy ngras ynot,—heddyw heb ddyoddef dim er fy mwyn. Rhyw heddyw rhyfedd yn ei hanes ef oedd y diwrnod hwnw:—heddyw o dywyllwch i oleuni,—heddyw o garchar Jerusalem i baradwys Duw,—heddyw o blith gwaethaf y byd hwn i blith goreuon y byd arall. Mae gras a thrugaredd yn gallu gwneyd gwaith llwyr mewn amser byr, os bydd galwad; dyma enaid wedi ei gyfiawnhau, ei santeiddio, a'i gymmeryd i ogoniant mewn un prydnawn,—"Heddyw," &c.

Yr arwydd gyntaf gafodd Noah fod dyfroedd y diluw yn treio oedd, dychweliad y golomen i'r arch â deilen olewwydden yn ei chylfin. Os oedd preswylwyr gwynfa yn

edrych gyda graddau o bryder ar weithredoedd Calfaria y diwrnod hwnw, cawsant eu llwyr argyhoeddi cyn yr hwyr fod y fuddugoliaeth wedi troi o du Iesu ; gwnaeth sant pur o'r drwg-weithredwr hwn, a dygodd ef yn ei gôl yn brawf o dreiad dyfroedd y diluw, ac o'i fuddugoliaeth Ef ar alluoedd y tywyllwch.

*Gwelwn yma fod dyn yn parhau i fodoli ar ol gadael y byd hwn.* "Heddyw y byddi." Mae rhai yn ceisio dysgu yr athrawiaeth o ddifodiant—fod dyn yn darfod bodoli wrth ddarfod â'r byd hwn. Gwir y buasai yn dda gan filoedd pe buasai yr athrawiaeth hon yn wirionedd,—y rhai hyny sydd yr awr hon yn dymuno marw, ond yn methu ; ond y mae yr hwn a blanodd anfarwoldeb yn natur dyn yn dysgu yn wahanol,—"Heddyw y byddi."

Anwyl eneidiau, ni a *fyddwn* ar ol rhoddi y tabernacl hwn heibio ; ond y cwestiwn pwysig ydyw, Pa le y byddwn ?

"P'le yn oesi tragwyddoldeb ?
Yno byddwn cyn bo hir."

Os gyda Iesu, bydd yn werth marw er mwyn y fraint.

*Fod pob enaid yn myned i'w le ei hun wrth adael y corff.* Dychymmyg ddynol sydd wedi rhoddi bodolaeth i'r syniad am y lle canol y sonir am dano,—lle, meddant hwy, i'r enaid orphen dyoddef am bechod, a gorphen cael ei buro oddi wrtho. Nid oes modd glanhau lle nad oes ffynnon, ac nid oes ffynnon mewn un byd ond hwn. Aeth enaid y goludog ar ei union i ganol byd o wae, ac enaid y cardotyn i fynwes Abraham ; a meddai Iesu wrth hwn, "Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys."

Os oes lle canol i bobl yr Arglwydd, mae Iesu yno yn y canol gyda hwy; lle bynag yr aeth Ef y diwrnod hwnw, aeth ag enaid maddeuedig y lleidr gydag ef,—"gyda mi." "Lle yr wyf fi," medd Crist, "yr wyf yn ewyllysio fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi." Penderfynwn, gan hyny, gael gwell byd nâ hwn wrth fyned o hono; mae hyny yn bossibl trwy ras, ond gofalu mewn pryd.

# PREGETH II.

---

## YR YMDRECH AFLWYDDIANNUS.

"Y neb a guddio ei bechodau, ni lwydda; ond y neb a'u haddefo, ac a'u gadawo, a gaiff drugaredd."—Diar. xxvii. 13.

Y MAE genym awdurdod anffaeledig dros ddweyd mai "annghyfraith yw pechod." Nid ydyw o bwys yn mhwy, neu yn mha ffurf y deuir o hyd iddo, y mae yn egwyddor a gondemnir yn mhawb, ac yn mhawb yn mhob agwedd o hono.

Llawer ymgais a wnaed cyn hyn er cael allan pa fodd y daeth pechod i'r byd hwn ar y cyntaf. Gwyddom mai estron *(foreigner)* ydyw i'n byd ni. Bu adeg pan nad oedd; ac y mae cyfnod mewn addewid pan na fydd. Yn ngwyneb fod y Beibl mor gynnil yn ei gofnodiad o'r pa fodd a'r pa bryd y gwnaeth pechod ei ymddangosiad cyntaf, rhy brin y llwydda ymchwiliadaeth ddynol i ddyfod o hyd i fanylion y gwirionedd galarus. Gwell gadael iddo hyd nes cael goleuni cliriach.

Os na ddywedir yn eglur pa fodd y daeth pechod *i'r* byd, dysgir peth pwysicach yn ei gylch, sef pa fodd i'w gael allan *o'r* byd. Nid pa fodd y cafodd y dyn ddamwain sydd yn

bwysig, ond pa fodd i'w wella ohoni, &c. Mae bodolaeth pechod yn ffaith, a'i ddylanwad andwyol yn daenedig dros yr holl ddaear; a chyn cael gwared ohono, rhaid cael dynion a Duw i gydweithredu,—dynion i'w addef a'i adael ar y naill law, a Duw i dosturio a thrugarhau ar y llaw arall. Nid yw dyn, mae'n wir, wrth ddiwygio, yn haeddu maddeuant; ond gan fod Duw yn ei ofyn fel ammod, rhaid iddo ei gael. Mae y testyn yn awgrymu dau wirionedd, yn cadarnhau dau wirionedd, ac yn dysgu dau wirionedd.

I. Y DDAU WIRIONEDD A AWGRYMIR.

1. *Fod dynion i'w cael sydd yn cam-ymddwyn at eu pechodau.*—" Eu cuddio."

(*a.*) Trwy fod yn ddiystyr ohonynt. Mae modd cynnefino a gwneuthur drwg, ac i hyny arwain dyn i bechu yn ddiarwybod iddo ei hun. Y rheswm fod cynnifer yn myned trwy gyfres o bechodau mor ddidaro, ydyw diffyg ystyriaeth. Ceir rhai yn gwneyd rhagdrefn iddynt eu hunain ar ddechreu yr wythnos, gan benderfynu ei gweithio allan cyn nos Sadwrn. Ond pe rhoddent ystyriaeth briodol am can lleied ag hanner mynyd, fod Duw yn gwylio eu symmudiadau, ac yn penderfynu dwyn pob gweithred i farn, torent eu cynlluniau cyn hanner eu cyflawni. Mae diystyrwch o bechod yn amdo rhy deneu i'w gadw o'r golwg yn hir.

(*b.*) Trwy eu gwadu. Un o brif bechodau y byd ydyw gwadu pechod. Mae pechod yn rhy wan i ymgynnal heb gydymaith i'w gynnorthwyo. Dyna ydyw gwadu,—pechod yn attegu pechod. Ond faint bynnag fydd nifer y cynnalbyst hyn dan yr adeilad, mae y sylfaen yn rhy dywodlyd

i ddal y ddryc-hin; hwyr neu hwyrach hyn fydd ei hanes :—"A'r gwlaw a ddisgynodd, a'r llifeiriant a ddaethant, a'r gwyntoedd a chwythasant, ac a gurasant ar y tŷ hwnw; ac efe a syrthiodd, a'i gwymp a fu fawr." Gobeithio y bydd y *tenant* wedi ffoi ohono mewn pryd; oblegyd mor sicr ag i Achan, Ananias, Saphira, &c., gael eu dal yn eu drygioni, fe ddiosgir pob cyfrwys o'i ffalsder, a dynoethir pob anudonwr o'i dwyll.

(*c*.) Trwy briodoli yr achos ohonynt i ereill. Mae hwn yn hen gynllun o ymesgusodi,—mor hen ag Adda: "Y wraig a roddaist i mi a'm twyllodd." Parha y pechod hwn yn hynod boblogaidd y dyddiau hyn; ceir naw o bob deg yn beio yr amgylchiadau yn lle eu hunain. Faint bynnag o bwysau sydd yn yr esgus hwn, mae yn rhy ysgafn i gloriannau Duw, &c. Nis gellir beio yr anifail am gyfeirio ei gamrau tua'r lladdfa; cael ei yru y mae, heb ewyllys o'i eiddo ei hun yn y weithred. Dyn yn wahanol, &c.

2. *Fod ereill yn iawn ymddwyn at eu pechodau.* "Eu haddef a'u gadael." Dyma ddosparth yn amcanu at yr hyn sydd yn ei allu. Mae cuddio pechod yn ormod o orchwyl i ddyn, ond ei addef a'i adael yn alluadwy iddo.

Mae y ddau ymadrodd hyn, "addef" a "gadael," yn cynnwys bywyd ar ei hyd—y gorphenol a'r dyfodol. At bechodau y gorphenol y cyfeiria y cyntaf; anmhossibl galw ddoe yn ol, a dadwneyd y gweithredoedd a gyflawnwyd. Daeth pob dydd i'n meddiant fel papyr gwyn o law Duw; darfu i ninau ei lenwi â rhyw fath o ysgrifen: ond o ran dim fedrwn wneyd i'r ysgrifen mwy, erys fel y mae, pa un bynnag ai o'n plaid neu i'n herbyn. Yr oll fedrwn wneyd

ydyw addef ein pechodau, galaru o'u herwydd, ac ymbil am drugaredd. Ond mewn perthynas â'r dyfodol, y mae gorchwyl arall yn dyfod i'n rhan—peidio pechu, gwrthwynebu diafol, rhoddi heibio bob pwys a'r pechod parod i'n hamgylchu, ymwrthod â phob drwg yn mhob agwedd ohono, &c. Ffrwythau addas i edifeirwch ydyw diwygiad buchedd; ni ellir addef y drwg a gyflawnwyd heb ei adael yn y dyfodol. Pa les i'r meddwyn addef y pechod o ddyrysu ei synwyrau yn y dafarn nos Sadwrn diweddaf, os bydd iddo ddychwelyd eilwaith fel ci at ei chwydfa? "Megys y mae y ci yn dychwelyd at ei chwydfa, felly y mae y ffol yn dychwelyd (adwneuthur) at ei ffolineb:" Preg. xxvi. 11).

II. Y ddau wirionedd a gadarnheir.

(a.) *Aflwyddiant y sawl a guddio ei bechod.* "Ni lwydda." Mawr yr ymdrech a wneir i guddio pechod. Heblaw bod yn ddiystyr ohono, ei wadu, a'i briodoli i ereill, ceir rhai yn ymdrechu cuddio eu hunain i'r dyben hwn—yn dianc i wledydd pell, ac hyd y nod yn cyflawni hunanladdiad. Ond lle bynnag yr êl dyn, bydd yn anmhossibl iddo ffoi rhag ei gydwybod, a thu allan i derfynau yr Hollbresenol. Bydd gofyniad y Salmydd yn briodol iddo yn mhob man: "I ba le yr af oddiwrth dy Ysbryd, ac i ba le y ffoaf o'th wydd? &c." Bydd yr ymadrodd "ni lwydda" yn erlyn ar ei ol i bob cŵr o'r greadigaeth. Rhai blynyddoedd yn ol, darganfyddwyd morfil o gryn faintioli ar draeth Llanilltyd Fawr, a thryfer (*harpoon*) yn gladdedig yn ei gnawd. Er i'r creadur hwnw lwyddo i ddianc o afael ei drywanydd, ac ymrwyfo feallai trwy filltiroedd lawer o ddyfroedd cyn cyrhaedd y fan hono, methodd ag ymryddhau oddiwrth yr offeryn a brofodd yn farwol iddo,—glynodd y biccell ynddo

nes trengodd. Mae pechodau cuddiedig fel "piccellau tanllyd y fall" yn nghydwybod yr euog. Teimlai Dafydd fod ei esgyrn yn crino, a'i irder yn sychu tra y cuddiai ei bechod oddiwrth yr Arglwydd. "Tra y tewais, heneiddiodd fy esgyrn, gan fy rhuad ar hyd y dydd. Canys trymhaodd dy law arnaf ddydd a nos: fy irder a dröwyd yn sychder haf. Addefais fy mhechod wrthyt, a'm hanwiredd ni chuddiais: dywedais, Cyffesaf yn fy erbyn fy hun fy anwiredd i'r Arglwydd; a thi a faddeuaist anwiredd fy mhechod. (Ps. xxxii. 3—5.)

(2.) *Llwyddiant y sawl a'i haddefo ac a'i gadawo.* "A gaiff drugaredd." Ni ellir meddwl am gyfarfyddiad mor ddedwydd â hwn,—dyn yn cyfarfod â Duw i dderbyn trugaredd, a Duw yn cyfarfod â dyn i'w rhoddi. Pe dygwyddai i angel fyned rhyngddynt ar y pryd a dangos anfoddlonrwydd, trawsffurfid ef i sypyn o lwch ar eiliad, a theflid ef dros ganllawiau gogoniant i eigionau trueni a gwae.

III. Y DDAU WIRIONEDD A DDYSGIR.

(1.) *Methiant y naill o herwydd ymaflyd mewn gorchwyl nad yw yn perthyn iddo,*—"cuddio pechod." Gwaith perthynol i Dduw yn unig ydyw cuddio pechodau; pwy bynag arall ryfyga wneyd hyn, bydd adgyfodiad yn rhwym o ddilyn. Daw ein pechodau i fyny trwy bob peth roddwn ni arnynt. "Eithr yr ydym ni oll megys peth aflan, ac megys bratiau budron yw ein holl gyfiawnderau; a megys deilen y syrthiasom ni oll; a'n hanwireddau, megys gwynt, a'n dug ni ymaith." Daw gwynt yr Hydref heibio i chwalu'r dail, dinothi'r pechodau, gan ein gadael ar y maes yn ddiymgeledd; ond os cymmer Duw at eu claddu, Efe a'u

cuddia mewn man na ddaw Ef ei hun o hyd iddynt. "Canys ti a deflaist fy holl bechodau o'r tu ol i'th gefn." (Es. xxxviii. 17.) "A thi a defli eu holl bechodau i ddyfnderoedd y môr." (Mic. vii. 19.) Mae Duw yn gosod Iawn ei Fab ar bechodau ei bobl, pwysau anfeidrol yr hwn a'u ceidw yn gladdedig yn oes oesoedd, &c.

(2.) *Llwyddiant y llall yn ei waith ei hun.* "Addef pechod a'i adael." Ymadawiad â phechod ydyw y cam cyntaf at Dduw, a maddeuant o hono sydd gymhwysiad i'r nefoedd. Yr olygfa fwyaf swynol i angylion ydyw gweled dyn a Duw yn gwneyd eu gwaith priodol eu hunain,—dyn yn edifarhau, a Duw yn maddeu; dyn yn wylo yn herwydd ei aflendid, a Duw yn canu wrth ei olchi yn ngwaed ei Fab; dyn yn gwaeddi "Cadw fi, canys darfu am danaf," a Duw yn ateb o'r orsedd "Yn dy waed bydd fyw." Gofalwn ni am wneyd ein rhan, a gofala Duw am ei ran yntau; a rhyngom ein dau, byddwn yn rhwym o'r nefoedd.

# PREGETH III.

## ESGYNIAD CRIST.

"Ac Efe a'u dug hwynt allan hyd yn Bethania; ac a gododd ei ddwylaw, ac a'u bendithiodd hwynt. Ac fe a ddarfu, tra yr oedd Efe yn eu bendithio hwynt, ymadael o hono Ef oddi wrthynt, ac Efe a ddygwyd i fyny i'r nef."—Luc xxiv. 50, 51.

PAN gymmerodd amgylchiadau y testyn le, yr oedd yr Arglwydd Iesu wedi newid ochr ag angeu. Ychydig wythnosau yn ol yr oedd yr ochr hyn i angeu. Yr oedd y groes a'r gwaradwydd rhyngddo â'r llawenydd a osodwyd iddo gan y Tad; ond yn awr, mae y groes wedi ei dyoddef, y gwaradwydd wedi ei ddiystyru, ac yntau yn ffarwelio â'r ddaear am lawenydd tragywyddol y nef.

Cymmerodd ei ddysgyblion gydag Ef i le ei esgyniad; yr oedd am iddynt hwy o bawb gael yr olwg ddiweddaf arno yn y byd hwn, a bod yn llygad-dystion o'i ymadawiad i'r nef. Nid oes hanes i neb ei weled yn y weithred o godi oddiwrth y meirw, o leiaf ni welodd y dysgyblion Ef; dichon nad oedd hyny yn bwysig, gan y bwriadai iddynt gael ei weled ar *ol* codi. Gwelsant Ef ar ol codi,—"Bu yn weledig iddynt dros ddeugain niwrnod," ac "ymddangosodd iddynt trwy lawer o arwyddion sicr." Cawsant brofion diamheuol mai Efe oedd yr Hwn fu yn eu tywys, eu dysgu, a'u ham-

ddiffyn yn ystod y tair blynedd blaenorol, ac a fu farw drostynt ychydig wythnosau cyn hyny. Ond wrth esgyn, yr oedd yn angenrheidiol iddynt gael golwg arno yn yr *act* o ymadael; oblegyd heb hyny, ni fuasent yn gallu dweyd i ba le yr aethai. Yr oedd yn briodol iddynt hwy fod yn dystion o'i esgyniad yn gystal ag o'i adgyfodiad; a chan iddynt ei weled yn y weithred o esgyn, yr oeddynt yn alluog i wynebu ar y byd, a chyhoeddi heb ofni gwrthwynebiad, "Yr Iesu hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw, yn dywysog, ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau. A nyni ydym ei dystion Ef o'r pethau hyn, a'r Ysbryd Glân hefyd, yr hwn a roddes Duw i'r rhai sydd yn ufuddhau iddo Ef." (Act. v. 31, 32.) Gwnawn rai sylwadau yn mhellach ar esgyniad y Gwaredwr, —I. Lle ei ymadawiad. II. Dull ei ymadawiad. III. Dyben ei ymadawiad.

I. Lle ei ymadawiad.

Barnodd Mab Duw yn briodol ymadael â'r ddaear oddiar ben un o'i mynyddoedd hi. Wrth olrhain ei hanes, fe ganfyddir fod rhai o ddygwyddiadau (os dygwyddiadau hefyd,) hynotaf ei oes wedi cymmeryd lle ar fynyddoedd. Ar fynydd y gweddnewidiwyd Ef; rhyw fynydd a ddewisodd yn bwlpud iddo ei hun i draddodi pregeth gyfoethog y gwynfydau, &c.; i fynyddoedd y rhan amlaf yr ymneillduai yn mrig yr hwyr i weddïo ar hyd y nos; ac ar gyfrif ei farwolaeth ar Galfaria, mae hwnw yn dalach o'i ben nâ mynyddoedd uchaf y byd; ac yn awr, wrth ganu'n iach i'r byd hwn o ran ei berson, dewisa wneyd hyny oddiar ben mynydd. Cwestiwn naturiol iawn ydyw, Paham oddiar fynydd? Ond hawddach i'w ofyn nâ'i ateb.

Diau fod rheswm am hyn fel am yr oll o'i ymddyg-iadau ereill, er nad ydyw wedi gweled yn briodol hysbysu y rheswm hwnw i ni. Yn ngwyneb absenoldeb ysgrythyr, cynnygiwn yr ystyriaethau canlynol :—

(1.) *Rhag bod un amheuaeth parthed ei fynediad i'r nef.* Nid oedd y dysgyblion etto wedi deall yn drwyadl natur teyrnas y Messiah ; yr oedd eu syniadau yn parhau i fod mor ddaearol, fel, pan osodwyd ei gorff yn y bedd, y tyb-ient fod eu holl obeithion hwythau yn gladdedig gydag Ef. "Yr *oeddem* ni yn gobeithio mai Efe oedd yr un a waredai yr Israel." A phan hysbyswyd iddynt am ei adgyfodiad, buont hwyrfrydig i gredu nes cael prawf boddhaol trwy eu synwyrau corfforol. Llawer llai yn ddiau y buasent yn credu yn ei esgyniad, pe na welsent Ef yn yr *act* o'u gadael.

Gallasai ei waith yn esgyn o'r gwastadedd fod yn achlysur i'r gelynion haeru nad aethai i'r nef, ond i'r mynyddoedd ; ond gan mai oddiar gopa'r mynydd y cychwynodd ei daith am dŷ ei Dad, nid oedd lle i amheuaeth osod ei throed i lawr, oblegyd nid oedd lle iddo aros ar ol gadael pen y mynydd, nes iddo gymmeryd ei sedd ar ddeheulaw y mawredd yn y goruwchleoedd. Yno yr aeth, yno y mae, ac yno y bydd, " hyd amseroedd adferiad pob peth." (Act. iii. 21.)

(2.) *Fel y byddai i'r ddaear wneyd ei rhan yn ei ddyrchafiad.* Anrhydedd i'r ddaear oedd cael ei gynnorth-wyo i esgyn mor agos i'r nef ag oedd modd, cyn iddo fyned yn ei nerth ei hun. Bu ganddi hi law yn ei ddarostyngiad. " Eithr Efe a ddyrchafodd, beth yw ond darfod iddo hefyd ddisgyn yn gyntaf i barthau isaf y ddaear." (Eph. iv. 9.)

Disgynodd o barth i barth, ac ni arosodd nes cael ei hun yn y parthau isaf. Mae gwahanol farnau mewn perthynas i "barthau isaf y ddaear;" ond pa le bynag yr oedd, dyna drobwynt bywyd Mab Duw tuag i fyny. Gan i'r ddaear fod yn gynnorthwyol i'w ddarostyngiad i'r man iselaf yn ei warth, dyma gyfle iddi yn bresenol i'w gynnorthwyo yn ei ogoneddiad, trwy ei godi mor agos ag oedd yn ddichonadwy iddi i'r gogoniant, cyn iddo esgyn yn ngherbyd y cwmmwl i fwynhau gwobr ei lafur.

*Y mynydd oedd yr Olewydd.* Lle cyssegredig yn ddiau yn hanes y Gwaredwr oedd mynydd yr Olewydd; ar droed hwn yr oedd gardd Gethsemane, lle y dywedir iddo Ef a'i ddysgyblion fynych gyrchu. "Oblegyd mynych y cyrchasai yr Iesu a'i ddysgyblion yno." (Ioan xviii. 2.) Yno y bu mewn ymdrech meddwl yn gweddïo yn ddyfalach; yno y rhoddodd ei hun i fyny i ddwylaw y Rhufeinlu, ac y dywedodd, "Os myfi yr ydych yn ei geisio, gadewch i'r rhai hyn fyned ymaith." (Ioan xviii. 8.) I lechweddau hwn yr ymneillduai ar lawer noson, i ddal cymundeb dystaw â'i Dad, ar ol llafur caled y dydd ar y gwastadedd; ac yno â'i weddïau anllafaredig y purai yr awyrgylch a dewychid gan iaith annuwiol a chableddus trigolion Jerusalem. Nid rhyfedd gan hyny iddo ymadael â'r ddaear oddiar yr Olewydd.

*Y gymmydogaeth oedd Bethania.* Os esgyn i'r nef o ben yr Olewydd, pa beth allasai fod yn fwy naturiol iddo nâ myned yno o ardal Bethania? Yno yr oedd y teulu a hoffai yn cartrefu; yno y profodd ei hun egluraf yn 'adgyfodiad a bywyd,' trwy weithredu yr adgyfodiad ar raddfa (*scale*) fach. Os oedd ganddo gartref ar y ddaear, Bethania

oedd hwnw; yno y cafodd ddwfr i'w draed ar ol teithiau blinedig y dydd, ac enaint i'w ben; yno yr oedd Martha fu yn gweini, a Mair fu yn eistedd wrth ei draed, gan wrandaw ac addoli. Pe buasai yn esgyn o lawer lle, buasai yr adgofion diweddaf yn rhai annymunol, ac anaddas i natur y wlad yr oedd ar fyned iddi. Yr oedd Nazareth, er yn gartref iddo dros fwyafrif blynyddoedd ei oes, yn lle annghymhwys iddo fyned o hono i'r nef; oblegyd yno y dygasant Ef hyd ael y bryn, yr hwn yr oedd eu dinas wedi ei hadeiladu arno, ar fedr ei fwrw Ef bendramwnwgl i lawr. (Luc iv. 29.) A Jerusalem yr un modd; oblegyd yno y rhwygasant yr awyr â'u bloeddiadau uffernawl, "Ymaith ag Ef, croeshoelier Ef." (Mat. xxvii. 22.) Ond wrth esgyn i'r nef o ardal Bethania, yr oedd yn cario yn ei fynwes adgofion o garedigrwydd y ddaear, pa rai fyddent yn bleser iddo feddwl am danynt pan ar ddeheulaw ei Dad yn eiriol dros droseddwyr.

### II. Gair ar ddull ei ymadawiad.

Mae rhywbeth yn y geiriau sydd yn awgrymu arafwch a hunan-lywodraethiad. Yr oedd mor gyfarwydd â'r daith, y cwmpeini, a'r lle yr oedd yn myned iddo, fel y mae yn gallu llwyr feddiannu ei hun, heb gymmaint ag ol brys i'w ganfod ynddo. Yn y lleill a gymmerwyd i'r nef, gyrff ac eneidiau, mae eu hanes yn awgrymu rhyw gymmaint o swn sydynrwydd a diesmwythdra. Am Enoch y dywedir, "Enoch a rodiodd gyda Duw, ac ni *chaed* ef." Mae yn bossibl i rywrai fod yn chwilio am dano, a bod y teulu yn ei ddysgwyl gartref fel arferol yn mrig yr hwyr, ond "ni chaed ef." Arferai ymweled ag annuwiolion ei gymmydogaeth, i'w cynghori a'u rhybuddio i adael eu drygioni a

dychwelyd at yr Arglwydd. Wrth ei weled yn hŵy nag arfer, ymholent yn ei gylch, gan ddywedyd, "Pa le mae yr hen batriarch cyhyd cyn dyfod i edrych am danom? mae yn hŵy nag arfer y tro hwn. A ydyw yn afiach, tybed? neu, a oes rhywbeth wedi dygwydd iddo?" Mae yn anmhossibl i'r byd golli cymmeriad fel Enoch heb weled ei eisieu. Ond er chwilio ac ymofyn, nid oes hanes o hono ar glawr daear. "Ni chaed ef," a hyny am y rheswm "ddarfod i Dduw ei symmud ef." Mae hanes Elias drachefn yn gyffroüs iawn. Dacw ef a'i gyfaill ymlyngar Eliseus, yn cyd-deithio o Gilgal i Bethel, yna o Bethel i Jericho, a thros yr Iorddonen ar dir sych, ac yn ddisymmwth, "Wele gerbyd tanllyd, a meirch tanllyd" yn gwahanu y ddau oddiwrth eu gilydd, ac "Elias yn dyrchafu mewn corwynt i'r nef." A chlöir y cwbl i fyny gan ddolef athrist Eliseus, "Fy nhad, fy nhad, cerbyd Israel a'i farchogion. Ac nis gwelodd ef mwyach; ac efe a ymaflodd yn ei ddillad ac a'u rhwygodd yn ddeuddarn." (2 Bren. ii.) Yr oedd Paul hefyd yn hollol anwybodus o'r modd y cymmerwyd ef i'r drydedd nef. Daeth yr amgylchiad yn fyw i'w feddwl yn mhen pedair blynedd ar ddeg wedi iddo gymmeryd lle; ond pa un ai yn y corff ai allan o hono y cymmerwyd ef i'r wibdaith wybrenol, ni wyddai. Yr unig beth a gofiai oedd, mai ei 'gipio' a gafodd i fyny i Baradwys. Gair ydyw 'cipio' sydd yn dynodi symmudiad sydyn o'r naill le i'r llall, heb weithrediad nac ewyllysiad o du y dyn ei hun. Ond am yr Arglwydd Iesu, mae yn weithredydd pwyllog yn yr amgylchiad. Edrychai y dysgyblion arno yn araf ymgodi trwy awyrgylch glir pen y mynydd; sylwent arno fel pe byddai yn ymddangos yn feinach ac yn llai fel yr oedd yn pellhau oddiwrthynt, nes

o'r diwedd i'r cwmmwl ymffurfio yn amwisg am dano, a'i dderbyn allan o'u golwg hwynt.

*Ymadawodd hefyd yn y weithred o fendithio.* Syniad cyssurus i'r saint fyfyrio arno ydyw, mai gweithred ddiweddaf eu Harglwydd cyn ymadael â'r byd oedd eu bendithio. Ymadawodd â hwynt gan fendithio, a bendithiodd hwynt wrth ymadael. Wrth fyned i mewn i'w dangnefedd ei hun, gadawodd dangnefedd ar ei ol i'w ganlynwyr. "Yr wyf yn gadael i chwi dangnefedd; fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei rodddi i chwi." (Ioan xiv. 27.) Mae y gwynt a'r môr yn gostegu o'u mewn gyda rhoddiad y fendith ymadawol iddynt, yr hyn sydd yn cyfrif am eu gwaith, ar ol addoli, yn dychwelyd i Jerusalem gyda llawenydd mawr. Dichon er hyny mai bendith oedd hon i aros rhoddiad bendith fawr arosol dydd y Pentecost. Gan fod deng niwrnod i gyfryngu rhwng ei esgyniad Ef a disgyniad yr Ysbryd Glân, gall mai ei ddyben wrth gyfranu y fendith hon oedd, eu cynnal yn y cyfamser.

Yr oedd pryder annesgrifiadwy yn y Deheudir, yn enwedig yn Nghymoedd y Rhondda, pan garcharwyd y glowyr hyny i fewn dan y ddaear. Er mwyn eu cadw yn fyw nes dyfod o hyd iddynt, penderfynwyd ebillio tyllau trwy dewdrwch y glo allan i'r gwagle lle yr oeddent yn amgauedig; ar ol llwyddo yn hyn, gwthient bibellau yn llawn o ymborth drwy y tyllau, er eu diwallu, nes eu cael oddiyno. Er nad oedd yr ymborth hwn ond ychydig, yr oedd yn ddigon iddynt yn eu cyflwr caethiwus, ac i'w cadw mewn dysgwyliad hyderus am y cyflawnder oedd yn eu haros yn y gymmydogaeth pan ddeuent allan. Mae yr Arglwydd Iesu yn adn. 49 yn gorchymmyn i'w ddysgyblion aros yn ninas Jerusalem,

nes iddo Ef anfon addewid y Tad arnynt. Yn Jerusalem yr oeddent i gael eu gwisgo â nerth o'r uchelder; yno yr oedd y tywalltiadau helaeth i ddisgyn, a'r fendith arosol i gael ei chyfranu. Digon gwir fod deng niwrnod i fyned heibio cyn y byddai i hyny gymmeryd lle, ond gofalodd Iesu roddi digon o ddefnydd cynnaliaeth yn y fendith ymadawol ar ben y mynydd i'w cadw mewn dysgwyliad tawel a ffyddiog am y fendith fawr Bentecostaidd.

III. Dyben ei ymadawiad.

Yr ydym yn awr yn traethu am berson na wnaeth ddim erioed heb fod ganddo ddyben neillduol i'w gyrhaedd trwyddo. Gwireddodd y geiriau, "Y mae dyben i'r pethau am danaf fi," yn mhob symmudiad o'i eiddo. Yr oedd dyben i'w ddyfodiad i'r byd, i'w arosiad dros dymhor ynddo, ac yn awr i'w fynediad o hono.

(1.) *Aeth o'r byd i'r dyben o gwblhau amcan ei ddyfodiad i'r byd.* Yr oedd ei dderchafiad goruwch yr holl nefoedd yn rhan o amcan ei ddisgyniad i barthau isaf y ddaear. Y golled fwyaf i ddynoliaeth yn mhob ystyr fuasai iddo adael y ddaear cyn marw, oblegyd trwy ei farw y cafwyd aberth, iawn, a chymmod; ond ar ol iddo farw, ennill i'r byd oedd ei fynediad i'r nef. Heb esgyn, nid oedd modd ymddangos gerbron y Tad, eiriol dros droseddwyr, nac anfon y Diddanydd a'r Argyhoeddydd i lawr. Cadwai ei olwg yn barhaus ar y nef yn ystod ei ymdaith ddaearol. "Mi a ddaethum allan oddiwrth y Tad, ac a ddaethum i'r byd; trachefn yr wyf yn gadael y byd, ac yn myned at y Tad." (Ioan xvi. 28.) "Buddiol yw i chwi fy myned I ymaith; canys onid âf fi, ni ddaw y Diddanydd atoch; eithr os mi a âf, mi a'i hanfonaf Ef atoch." Nid yw yn debyg y buasai

yr Ysbryd Glân yn gadael y nef o gwbl nes gweled fod Iesu wedi cyrhaedd yno, a gorseddu ei hun ar ddeheulaw ei Dad. Gadawodd Iesu y ddaear er mwyn parotoi y nef i ddynion. "Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi;" a daeth yr Ysbryd Glân i'r ddaear i barotoi dynion i'r nef. "Pan ddel Efe, sef Ysbryd y gwirionedd, Efe a'ch tywys i bob gwirionedd." Trwy y parotoi yr ochr hon yr addasir dynion i'r nef, a thrwy y parotoi yr ochr draw yr addasir y nef i ddynion.

(*b.*) *Aeth i'r nef er mwyn diddyfnu serchiadau ei bobl oddiar y byd.* Mae gafael rhywrai yn myned yn llai bob dydd yn y byd hwn, ac yn dynach yn y byd dyfodol. Gwaith anhawdd ydyw dyfod o hyd i ddyn cyfan yn y byd hwn; mae yr anwyliaid a ddygir oddi arnom yn angeu yn dwyn ymaith ein serch gyda hwy.

Pan oedd Crist ar y ddaear, yr oedd pob peth y dysgyblion ar y ddaear hefyd; a phan yn sôn am farw, methent a deall sut yr oedd yn bossibl byw hebddo. "Awn ninnau hefyd (meddent) fel y byddwn feirw gydag Ef." Tybient na fuasai bywyd yn werth ei fyw ar ol iddo Ef farw. Pan adawodd y ddaear, edrychent yn ddyfal tua'r nef; a chredwn nad oedd yr 'edrychiad dyfal' hwn ond *specimen* o gyfeiriad calonau y saint hyd ddiwedd y byd. Mae eu serch bellach ar y pethau sydd uchod, "lle mae Crist yn eistedd ar ddeheulaw Duw."

Mae atdyniad y nefoedd mor angerddol gryf i eneidiau y duwiolion, fel, oni bai fod y cyrff sydd am danynt yn eu cyssylltu wrth y ddaear, y byddent yno ar eu hunion. Gan fod eu serch yno o'u blaen, byddant hwythau ar ddydd eu hymddatodiad yn rhwym o fyned yno atynt. "Canys lle y mae eich trysor chwi, yno y bydd eich calon hefyd." Nid

yw angeu i'r credadyn yn ddim mwy na llai nâ "dattod a bod gyda Christ."

(3.) *Aeth i'r nef i'r dyben i'w ddysgyblion ymdeimlo mwy â'i cyfrifoldeb, ac ymdrechu mwy gyda'r achos yn y byd.* Yr oedd gan Iesu waith mawr wedi ei dori allan i'r dysgyblion, yr hwn hyd yma nid oedd ond prin wedi ei ddechreu.

*Bod yn dystion iddo.* "Chwi a fyddwch dystion i mi yn Jerusalem, ac yn holl Judea, a Samaria, ac hyd eithaf y ddaear." (Act. i. 8.) Yr oedd y deyrnas i fod yn seiliedig ar dystiolaeth yr apostolion am gymmeriad, dysgeidiaeth, gwyrthiau, angeu, adgyfodiad, ac esgyniad yr Arglwydd Iesu. Yr oedd Efe yn myned i'r nef i'w cynnrychioli hwy, yr oeddent hwythau i fyned i'r byd i'w gynnrychioli yntau. Hwy yn unig oedd ganddo yn y byd hwn i gadw chwareu teg iddo yn ei gefn.

*Gweithio drosto.* Pregethu'r efengyl, ymosod ar gyfeiliornadau yr oes, planu eglwysi, ac adeiladu'r saint. "Nid wyf yn gweddïo ar i ti eu cymmeryd hwynt allan o'r byd, eithr ar i ti eu cadw hwynt rhag y drwg." (Ioan xvii. 15.) Yr oedd ar y byd angen eu gwasanaeth. Os oedd y marw iawnol i gael ei hysbysu, a dynion i gael eu hachub,—trwy y dysgyblion yr oedd hyny i gymmeryd lle. Dichon mai dyma y 'gweithredoedd mwy' y soniai am danynt. "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, yr hwn sydd yn credu ynof fi, y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur, yntau hefyd a'u gwna, a mwy na'r rhai hyn a wna efe: oblegyd yr wyf fi yn myned at fy Nhad," (Ioan xiv. 12.) Nid mwy o weithredoedd ddywedir, ond 'gweithredoedd *mwy*.' Mae

cyhoeddi yr anchwiliadwy olud yn fwy yn nghyfrif Crist na chyflawni gwyrthiau; mae achub enaid rhag angeu, a chuddio lluaws o bechodau, yn fwy ac anrhydeddusach gorchwyl nâ chodi'r marw naturiol o'i fedd. Ac y mae Efe yn ymadael i'r dyben iddynt i ymosod ar y gwaith pwysig, ond gogoneddus hwn. Gwelwyd ambell i deulu weithiau yn glynu yn ddidor wrth eu gilydd, tra fyddai y rhieni byw; ond wedi iddynt farw, torai y plant eu cartref i fyny, ac ymwasgarent oddiwrth eu gilydd dros y gweddill o'u hoes. Tra yr oedd yr Iesu yma, yr oedd ymlyngarwch y dysgyblion wrtho yn ddidòr,—lle bynag y byddai Ef y byddent hwythau fynychaf; ond yn awr, dyma y Pen teulu yn ymadael am dŷ ei Dad, ac mewn canlyniad, ymwasgarodd yr aelodau ar hyd a lled y byd at eu dyledswyddau, a rhai o honynt i beidio cyfarfod mwy nes cyfarfod yn y nefoedd. Ychydig o weithiau yr ymddangosodd Crist iddynt yn ystod y deugain niwrnod, a hyny yn ddiau i'r dyben o gymmodi eu meddwl yn raddol â'i ymadawiad parhaus.

(4.) *Aeth i'r nef er mwyn bod yn agosach i'w bobl.* Wrth ddweyd hyn, yr ydym yn tybied fod Crist yn nes at ei bobl yn bresenol nag oedd pan ar y ddaear. Gwir nas gwyddom pa le y mae y nefoedd, na'r pellder sydd rhyngom â hi; o ran agosrwydd lleol, dichon fod Crist yn agosach i'r ychydig ganlynwyr oedd ganddo y pryd hwnw, pan ar y ddaear; ond yn ei ddylanwad, ei ras, ei atdyniad, &c., mae yn nes yn bresenol. Os yw yr haul mewn un ystyr yn mhellach oddiwrth y ddaear yn yr hâf nag yn y gauaf, mae yn agosach mewn ystyr arall; yn yr hâf y gwelir natur yn adgyfodi o'i beddrod gauafol, anian yn gwenu, y meusydd yn prydferthu, hâd yn tarddu allan i'r hauwr, a bara i'r

bwytawr. Felly Crist, ‘Haul Cyfiawnder,’ o’r nef mae yn dylanwadu fwyaf ar y ddaear; oddi yno y mae yn tynu fwyaf ato ei hun. Ychydig yn gymharol a dynodd ato ei hun yn ystod ei weinidogaeth bersonol, ond yn y cyfarfod cyhoeddus cyntaf ar ol ei ymadawiad, tynodd dair mil o’r eneidiau duaf eu lliw i gychwyn eu gyrfa tua’r wlad well, a’i hanes byth er hyny ydyw, “chwanegu beunydd at yr eglwys y rhai fyddent gadwedig.” (Act. ii. 47.)

Wrth aros yma, buasai ei bresenoldeb corfforol yn gyfyngedig i le ac amser, ac yr oedd hyn y pryd hwnw (pan nad oedd y cylch ond cymharol fychan, a’r eiddo yn gymharol ychydig,) yn cael ei deimlo yn anfantais. Yr un gŵyn oedd gan y ddwy chwaer o Bethania pan gyrhaeddodd Iesu yno. “Arglwydd, pe buasit ti yma, ni buasai fy mrawd farw.” (Ioan xi. 21, 32.) Fel pe y dywedent, “Pe buaset ti yn agos, buasai angeu yn cadw yn mhell; ond pan oeddit ti yn mhell, fe feiddiodd angeu ddyfod yn agos.” Wel, erbyn hyn, mae ei achos wedi lledaenu, ei ganlynwyr wedi lluosogi ac ymwasgaru ar hyd a lled y ddaear, fel, wrth fyned oddiamgylch gan wneuthur daioni yn ol ei arferiad, buasai y mwyafrif mawr yn amddifad o’i bresenoldeb; ac fel y Groegiaid hyny, yn crwydro ar ei ol, gan ymholi a dywedyd, “Ni a ewyllysiem weled yr Iesu.” Ond a glywsoch chwi y gŵyn hon wedi iddo ymadael? A glywsoch chwi ei fod yn eisieu o’r cyfarfod “dau neu dri” oedd wedi ymgynnull yn ei enw? Mae yr addewid ddiweddaf a roddodd cyn gadael y ddaear wedi rhoddi tawelwch a boddlonrwydd bythol i galonau y saint yn mhob oes. “Wele yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd.” (Mat. xxviii. 20.) Mae yr addewid hon yn cynnwys digon i

ymweled â'r holl fyd, i wynebu ar bob tywydd, i ymosod ar bob gelyn, a dychwelyd o faes y frwydr yn fwy nâ choncwerwyr. Ni ddychwelodd y dysgyblion o ben y mynydd nes iddynt gael sicrwydd am fynediad Crist i'r nef: "Ac fel yr oeddynt yn edrych yn ddyfal tua'r nef, ac Efe yn myned i fyny, wele, dau wr a safodd gerllaw iddynt mewn gwisg wen; y rhai hefyd a ddywedasant, Chwi wŷr o Galilea, paham y sefwch yn edrych tua'r nef? Yr Iesu hwn, yr Hwn a gymmerwyd i fyny oddiwrthych i'r nef, a ddaw felly yn yr un modd ag y gwelsoch Ef yn myned i'r nef:" (Act. i. 10, 11). Mae yn perthyn i'r llongau mawrion a hwyliant i'r gwledydd tramor, yr hyn a elwir yn *signal letters.* Rhyw fath o lythyrenau arwyddol ydynt, yn dangos i'r llongau a ddygwyddant ddyfod heibio iddynt ar eu mordaith i'r wlad hon, y rhai ar ol cyrhaedd porthladd Prydeinig, a hysbysant yn y swyddfa iddynt basio llestr ar y dydd a'r dydd, yn y lle a'r lle, yn dwyn yr arwyddion hyn (ac yn eu nodi). Mae yr awdurdodau drwy y cyfryw arwyddion yn gwybod enw y llong y cyfeirid ati, a thranoeth, er cyssur i berthynasau y morwyr, hysbysir y ffaith yn y newyddiaduron dyddiol. Aeth llong o'r enw "*County of Anglesea*" allan unwaith i Sydney, deheubarth Awstralia, heb yr arwyddion hyn; yn y cyfamser, dygwyddodd i ni fod yn lletya dros noson neu ddwy yn yr un tŷ â phriod y cadben, yr hon oedd yn hynod bruddaidd ei theimlad, am na chawsai, oherwydd yr anffawd, glywed dim o helynt ei phriod nes iddo gyrhaedd pen draw y fordaith, yr hyn a fyddai yn amryw fisoedd. Pan adawodd Priod Seion y wlad hon am nef y nefoedd, gofalodd gymmeryd y *signal letters* gydag Ef. Pan ar y ffordd, dacw

ddau ohonynt. yn mhersonau y ddau wr gwyn a safasant gerllaw iddynt, yn hysbysu ei fod yn ddyogel ar ei daith,—"Yr Iesu hwn, yr Hwn a gymmerwyd i fyny oddiwrthych i'r nef." Ac yn mhen deng niwrnod, dacw lythyren arwyddol arall yn disgyn yn mherson yr Ysbryd Glân, yn brawf iddynt fod yr Iesu wedi cyrhaedd pen ei daith yn ddyogel. Mae yr Ysbryd yn aros yn y byd, ac i aros nes ei ennill yn eiddo i'n Harglwydd ni a'i Grist Ef. Pan gesglir ffrwyth y dyoddefaint i ddyogelwch, daw y Gwaredwr yr ail waith yr un modd ag y gwelwyd Ef yn myned; i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu. Mae yn gofus genym am ddyn ieuanc, sydd er ys talm bellach yn yr Unol Dalaethau, yr hwn oedd yn dra hwyrfrydig i fyned drosodd ar gymhelliad cyfaill iddo oedd yno amryw flynyddoedd o'i flaen. Er anfon arian i'w gyfaill ar gyfer y darpariadau angenrheidiol, yn nghyd â thalu ei long-gludiad drosodd, pryderai yn fawr fyned, a hyny, meddai, rhag ofn, ar ol cyrhaedd yno, y buasai yn ymddyrysu a cholli ei ffordd ar heolydd New York. Nid oedd erioed wedi bod oddi cartref. Ar ol gwneyd hyny yn hysbys, addawodd ei gyfaill ddyfod yr holl ffordd o'r Talaethau i'w gyfarfod a bod yn y porthladd erbyn glaniad y llong yn yr hon yr hwyliai. Ac felly y bu; yr oedd yno yn ol ei addewid yn gwylio dyfodiad y llestr, ac yn cofleidio ei ffrynd ar ei diriad yn ngwlad y gorllewin. Mae gan bobl yr Arglwydd hefyd gyfaill y tu arall i'r dŵr, sydd wedi addaw yn gyffelyb iddynt hwythau. Dywedodd wrthynt cyn ymadael,—"Myfi a ddeuaf drachefn, ac a'ch cymmeraf chwi ataf fy hun." Er fod y byd dyfodol yn ddyeithr i'r cristion, mae ei ffydd yn gref a'i obaith yn fywiog y bydd ei Waredwr gydag ef yn y

glyn, a'i wialen a'i ffon i'w gyssuro. Bydd Efe mewn pryd ar y *landing stage* yn gwylio ei ddyfodiad i'r porthladd, ac yn gofalu na fydd iddo golli'r cyfeiriad ar y groesffordd hono lle mae y ddau gymmeriad yn cefnu am byth ar eu gilydd. Nid yw Crist, er wedi newid ei safle, wedi newid dim yn ei deimlad: "Efe a ddaw yr un modd ag y gwelwyd Ef yn myned." Yr oedd yn cashau pechod pan yma,—"daw yr un modd;" yr oedd yn gwobrwyo rhinwedd a santeiddrwydd y tro cyntaf,—"daw yr un modd," ac i gyflawni yr un gwaith y tro nesaf. Ein gweddi barhaus ninnau fyddo am barodrwydd i'w gyfarfod pan y daw. Amen.

# PREGETH IV.

---

## GWYRTH DDIWEDDAF YR ARGLWYDD IESU CYN MARW.

"A'r Iesu a atebodd ac a ddywedodd, goddefwch hyd yn hyn. Ac Efe a gyffyrddodd â'i glust, ac a'i hiachaodd ef."—Luc xxii. 51.

Y WYRTH ddiweddaf a gyflawnodd yr Arglwydd Iesu cyn marw, oedd cywirio camgymmeriad Pedr, drwy roddi clust gwas yr archoffeiriad yn ei lle. Yr oedd yr Iesu yn ddigon mawr i fod yn fawr yn y dechreu, ac i barhau felly hyd y diwedd. Mae ei ddiwedd wedi agoshau. Mae awr y gelynion a gallu y tywyllwch wedi cyfarfod â'i awr Ef ac ewyllys ei Dad: "eithr hon yw eich awr chwi a gallu y tywyllwch." Cyn nos, byddai y gair "Gorphenwyd" wedi cyflawni y proffwydoliaethau—sylweddoli y cysgodau, a rhoddi terfyn bythol ar Ei ddyoddefiadau. Ond nid yw y noson olaf yn dwyn gyda hi yr arwyddion lleiaf o wendid a methiant yn Nghrist. Mae yn effeithio rhyddid pan yn rhwym, ac yn gweithredu trugaredd pan yn gondemniedig. Rhoddid Ef i farwolaeth gan yr Iuddew am wneyd ei hun yn Fab Duw; a phan yn ei ddal i'r dyben hwnw, dyma wyrth yn siarad ei

Dduwdod. Gwnawn rai sylwadau oddiwrth yr amgylchiad:—

(1.) *Luc yn unig sydd yn cofnodi cyflawniad y wyrth hon.*

Rhydd y tri hanesydd arall grybwylliad am yr ergyd, a thoriad ymaith glust y dyn; ond dim am y gwellhad. Gadawsant ef yn sydyn, fel pe byddent mewn brys i roddi hanes y milwyr yn dàl y Ceidwad a'i ddwyn i'r llys. Mae Luc yn wahanol—yn ymdroi ychydig gyda'r wyrth a'r modd y cyflawnwyd hi: "Ac Efe a gyffyrddodd â'i glust, ac a'i hiachaodd ef." Naturiol i Luc oedd aros a manylu ar weithred fel hon. Yr oedd ei alwedigaeth yn peri fod amgylchiad fel hwn yn ddyddorol iddo. Bernir yn gyffredin ei fod yr un â'r hwn a enwir yn Col. iv. 14; os felly, yr oedd yn physigwr wrth ei alwedigaeth, ac am hyny, o bossibl, yn fwy o sylwedydd ar anhwylderau y corff dynol a'u gwellhad nâ'i gyd-efengylwyr.

(2.) *Hon ydyw yr unig wyrth a gyflawnwyd mewn canlyniad i ymosodiad y naill ddyn ar y llall.*

Mae holl wyrthiau yr Arglwydd Iesu yn agos i ddeugain mewn nifer, a chynnwysant cyd-rhyngddynt "bob clefyd ac afiechyd yn mhlith y bobl." Sylweddolai y rhagfynegiad hwnw o eiddo y proffwyd,—"Efe a gymmerth ein gwendid ni, ac a ddug ein doluriau," &c. Ond hon yn unig a gofnodir iddo gyflawni mewn canlyniad i ymosodiad personol, &c. Mae anfeidrol ras yn yr amgylchiad. Pan wnaed ymosodiad personol ar Grist, dangosodd drugaredd i'w elyn wrth ei iachau oddiwrth effeithiau ymosodiad cyffelyb. Mor wir ydyw geiriau yr apostol, yr hwn a'i hadwaenai mor dda,—"Yr hwn pan ddifenwyd, ni

ddifenwodd drachefn; pan ddyoddefodd, ni fygythiodd, eithr rhoddodd ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn." (1 Pedr ii. 23.)

(3.) *Un o brif ffryndiau yr Arglwydd Iesu wnaeth yr ymosodiad.*—Pedr.

Ni fuasem yn gwybod pwy ydoedd oni buasai i Ioan hysbysu hyny: (Pen. xviii. 10). Cyfrifir am ddystawrwydd y tri efengylwr blaenaf gan y ffaith fod yr apostol yn fyw pan oeddynt yn ysgrifenu yr hanes. Buasai ei enwi yn ei osod yn agored i berygl parhaus oddiwrth yr Iuddewon. Ond pan ysgrifenodd Ioan yr hanes, bernir ei fod wedi marw, felly nid oedd perygl dweyd mai efe a gyflawnodd y weithred.

(4.) *Mae yn hawddach ymladd dros Grist na dyoddef er ei fwyn.*

Diau fod iddo filoedd o ganlynwyr heddyw a fuasent mor barod â Phedr i gyflawni y trosedd hwn o dan amgylchiadau cyffelyb—eu sêl yn fwy nâ'u gras. Ond nid y dyn sydd yn taro ydyw y cryfaf bob amser, ond y dyn sydd yn dyoddef. Yr oedd nerth braich yr apostol yn bradychu gwendid ei ysbryd. Y gwir orchfygwr ydyw yr hwn all ddychwelyd da am ddrwg, a bendithio ei felldithiwr. Nerth Crist barodd iddo beidio taro; gallasai daro heb i neb ei alw i gyfrif am hyny, a tharo hefyd heb i neb wella ar ei ol, &c. Nid clwyfo oedd ei amcan yn y byd, ond meddyginiaethu; nid lladd, ond bywhau; nid dinystrio, ond cadw. Bernir mai cynnyg am ben Malchus wnaeth Pedr, ond iddo fel un annghyfarwydd ag arfau rhyfel, fethu'r nôd. Beth bynnag am hyny, yr un mor hawdd i Grist fuasai gosod ei ben wrth ei gorff â gosod ei glust wrth ei ben. Yr oedd anfeidroldeb yn gyfartal alluog i'r ddau; a thra na fedr

neb wella ei ergyd Ef, medr Ef wella ergyd pawb ond iddo gymmeryd ato tu yma i uffern.

(5.) *Dengys yr Arglwydd Iesu nad oes prinder offerynau taro pan fyddo galwad am eu gwasanaeth.* (Gwel Math. xxvi. 53.)

Yr oedd mwy nâ deuddeg a thri ugain o filoedd o feibion hynaf a chryfaf Duw yn barod ar lai nag eiliad o rybudd i amddiffyn y Mab, er y buasai llawer llai yn gwneyd y tro. Darn o noson oedd yn ddigon i *un* o'r rhai hyn ddifodi cant a phedwar ugain a phump o filoedd yn ngwersyll yr Assyriaid, â blaen ei aden. (Gwel 2 Bren. xix. 35.)

Yr oedd Judas erbyn hyn wedi myned i'w le ei hun, fel mai deuddeg oedd yn aros; a phe deuai angylion o gwbl i amddiffyn, deuai *lleng* ar gyfer pob un ohonynt: "Ac Efe a rydd yn y fan i mi fwy nâ deuddeg lleng o angylion." Mae yr offerynau dinystrio yn lluosog iawn,—yr offerynau *cadw* sydd yn brin. Pa mor lluosog bynnag yw y meibion sydd gan Dduw i ddinystrio, nid oes ond *un* Mab ganddo yn alluog i gadw; ac yn ei drugaredd anfonodd hwnw i'r byd i "geisio ac i gadw yr hyn a gollasid;" a chlod i'w enw, llwyddodd yn yr amcan, &c.

(6.) *Yn y cerydd, yr oedd Crist am ddysgu Pedr nad oedd gwaed neb i fod yn sylfaen ei deyrnas ond ei waed ei hun.* "Dod dy gleddyf yn y wain:" (Ioan xviii. 11), "Yr ydwyt wedi camgymmeryd y dyoddefydd y tro hwn; nid gwas yr archoffeiriad sydd i dderbyn yr ergyd yn yr amgylchiad hwn, ond myfi. Nid tydi chwaith sydd i ddefnyddio'r cleddyf, ond fy Nhad. Gŵyr Ef yn well nâ neb arall pwy i daro, pa bryd i daro, a pha faint ydyw

pwysau yr ergyd i fod,—'Dod dy gleddyf yn y wain." Mae mwyafrif teyrnasoedd y ddaear a gau grefyddau y byd yn sylfaenedig ar waed y deiliaid. Pob dyledus barch i deyrnas Prydain Fawr; ond nid yw hithau yn rhydd oddiwrth hyn. Mae y blynyddoedd diweddaf yn dystion iddi hi fod ar ei goreu yn cyssylltu maes wrth faes ar draul bywyd ei deiliaid ac anwariaid y gwledydd. Ond y mae Brenin Seion i ennill concwest ar bob nwyd, i fuddugoliaethu ar bob calon, i deyrnasu ar bob cydwybod, &c. heb dywallt gwaed neb ond ei waed ei hun. Y groes iddo Ef oedd sylfaen ei orsedd, a gwaelod y bedd newydd ei garreg lam (*stepping stone*) i ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd. Nid cryfder corfforol sydd i wasanaethu yn y deyrnas, ond nerth ysbrydol: "Arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr."

Mae Crist yn feddyg corff ac enaid; rhoddodd *gorff* iach i Malchus cyn cychwyn i Galfaria, ac *enaid* iach i'r lleidr edifeiriol cyn gadael yr un lle; a rhydd y ddau etto i bwy bynnag a ymddiriedo ynddo. Hyn oedd teimlad yr emynydd pan ganodd

"Iesu, clywais son am danat,
A mi etto yn fy ngwlad;
Dy fod yn gwella corff ac enaid,
Ac yn gwneuthur hyny'n rhad;
Hyny'm cododd oddi cartref,
I gael gwel'd dy wyneb pryd;
'Rwyt ti yn rhagori llawer
Ar feddygon pena'r byd.

# PREGETH V.

## Y DDAU LYFR A'U DYLANWAD AR Y MYFYRIWR.

"Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw; a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw Ef. Dydd i ddydd a draetha ymadrodd a nos i nos a ddengys wybodaeth. Nid *oes* iaith nac ymadrodd, *lle* ni chlybuwyd eu lleferydd hwynt. Eu llinyn a aeth drwy yr holl ddaear, a'u geiriau hyd eithafoedd byd; i'r haul y gosododd Efe babell ynddynt; yr hwn *sydd* fel gwr priod yn dyfod allan o'i ystafell: *ac* a ymlawenha fel cawr i redeg gyrfa. O eithaf y nefoedd *y mae* ei fynediad ef allan, a'i amgylchiad hyd eu heithafoedd hwynt: ac nid ymgudd dim oddiwrth ei wres ef. Cyfraith yr Arglwydd *sydd* berffaith, yn troi yr enaid: tystiolaeth yr Arglwydd *sydd* sicr, yn gwneuthur y gwirion yn ddoeth. Deddfau yr Arglwydd *sydd* uniawn, yn llawenhau y galon: gorchymmyn yr Arglwydd *sydd* bur, yn goleuo y llygad. Ofn yr Arglwydd *sydd* lân, yn parhau yn dragywydd: barnau yr Arglwydd *ydynt* wirionedd, cyfiawn *ydynt* i gyd. Mwy dymunol *ynt* nag aur, ïe, nag aur coeth lawer: melusach hefyd nâ'r mêl, ac na diferiad diliau mêl. Ynddynt hwy hefyd y rhybuddir dy was: o'u cadw y *mae* gwobr lawer. Pwy a ddeall ei gamweddau? glanha fi oddiwrth *fy meiau* cuddiedig."—Psalm xix. 1—12.

MAE y Salm hon yn dwyn i'n sylw y ddwy gyfrol fawreddog a ysgrifenwyd gan yr Arglwydd er gwneyd ei hun yn hysbys i'w afrifed greaduriaid rhesymol—cyfrol natur a chyfrol datguddiad. Gosodir hwy ar lawr gan y Salmydd yn ol amseriad eu cyfansoddiad. Cyfrol y greadigaeth oedd y gyntaf i ymddangos trwy y

wasg, a diau iddi gael ei bwriadu fel rhagymadrodd i gyfrol ogoneddus datguddiad. Nid oes amheuaeth fod yr ail gyfrol yn meddwl yr Awdwr Dwyfol pan gyhoeddodd y gyntaf. Sylwn arnynt yn eu trefn :—

I. Llyfr Natur. "Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw ; a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw Ef. Dydd i ddydd a draetha ymadrodd, a nos i nos a ddengys wybodaeth. Nid *oes* iaith nac ymadrodd, *lle* ni chlybuwyd eu lleferydd hwynt. Eu llinyn a aeth trwy yr holl ddaear, a'u geiriau hyd eithafoedd byd : i'r haul y gosododd Efe babell ynddynt ; yr hwn *sydd* fel gŵr priod yn dyfod allan o'i ystafell : *ac* a ymlawenha fel cawr i redeg gyrfa. O eithaf y nefoedd *y mae* ei fynediad ef allan, a'i amgylchiad hyd eu heithafoedd hwynt : ac nid ymgudd dim oddiwrth ei wres ef."

Dywed Mr. Spurgeon, yn ei esboniad, fod y gyfrol hon yn gyfansoddedig o dair dalen—y nefoedd, y ddaear, a'r môr. Ond byddai dweyd cynnwysiad y dalenau, nifer eu llinellau, &c., yn anturiaeth rhy fawr i'r dyn mawr hwnw. Un ddalen sydd yn caethiwo meddwl y sylwedydd yn bresenol,—"Y nefoedd."

"Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw ; a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw Ef." Dichon mai y "nefoedd" yw y ddalen bwysicaf yn y gyfrol ; oblegyd hi ydyw eisteddle y goleuadau, trwy yr hon y canfyddir y prydferthwch a'r gogoniant a berthyn i'r ddwy arall. Gair yn y rhif lluosog ydyw "nefoedd." Crybwyllir yn y Beibl am y "drydedd nef," i'r hon y cipiwyd Paul gynt, ac yn yr hon y clywodd eiriau anmhraethadwy, y rhai nid oedd gyfreithlon eu hadrodd : (2 Cor. xii.) Mae hyn yn amgrymu

tair nef o leiaf. Un fe ddichon ydyw y nef *wybrenol*, cartref y gwynt a'r cymmylau, a thramwyfa yr adar, &c.: (gwel Dan. vii. 2; Math. xxiv. 30; Luc viii. 5.) Y nef *serenol* ydyw yr ail, yn yr hon y tywyna y sêr ac y chwery y planedau yn eu graddau, &c. Deil y rhai hyn i ddatgan a mynegi ar hyd yr oesau a'r blynyddau. Nid ydynt wedi colli cymmaint â *stem* erioed, ac ni chollant yr un chwaith nes derbyn gorchymmyn gan yr Hwn a'u gosododd ar waith. Pregethwyr teithiol ydynt, yn llefaru am allu a doethineb eu Gwneuthurwr wrth drigolion y ddaear. Gwelsom furiau ambell ystafell wedi eu hamgylch-orchuddio oddi fewn â drychau, fel nad oedd modd i'r edrychydd droi i unrhyw gyfeiriad heb ganfod ei hun. Felly Duw yn ei berthynas â phalas ysblenydd y cread; nid oes modd iddo fod yn ddidyst ohono ei hun: "Hysbys i Dduw yw Ei weithredoedd oll erioed." Gwel ei hun yn mhob man, a chlyw ei enw o bob cyfeiriad. Nid yw Duw un amser yn canmol ei hun,—y gwaith sydd yma yn canmol y gweithiwr, &c. Duw ar ffurf dyn sydd yn cael sylw yma,—"Gwaith ei ddwylaw." Ni ellir meddwl am Dduw heb roddi ffurf iddo: "Ysbryd yw Duw." Crybwyllir am ei fysedd,—"Gwaith dy fysedd; ei law,—"Onid fy llaw I a wnaeth hyn oll?" braich,—"I bwy y datguddiwyd braich yr Arglwydd?" ysgwydd,—"a bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd Ef," &c. Cynnorthwyon i ddeall Duw ydyw lluaws o'r enwau a wisga.

Mater parhaus y ddadl rhwng yr ynfyd a'r greadigaeth ydyw bodolaeth Duw: "Yr ynfyd a ddywedodd yn ei galon, nid oes un Duw;" ie, yn ei *galon;* cadwed ei enau rhag dweyd dim o'r fath, onide fe dyn y cread yn ei ben. Dy-

wed y nefodd *fod* Duw, a mŷn y nefoedd y gair diweddaf ar bob amheuwr. Mae y *flags* sydd i fyny wrth balas y boneddwr yn arwydd i'r gymmydogaeth fod y teulu gartref. Mae yr heuliau, &c., fel cynnifer o fanerau yn cwhwfanu uwchben y palas creadigol, yn arwydd i'r tenantiaid fod perchenog yr etifeddiaeth yn fyw ac yn iach yn ei gartref, &c. "Dydd i ddydd a draetha ymadrodd, a nos i nos a ddengys wybodaeth;" neu ddydd ar ol dydd; un dydd yn dechreu lle mae y dydd blaenorol yn terfynu, ac felly y traethawd am Dduw yn cael ei gario yn mlaen yn ddiymaros trwy yr oesau—y naill ddydd a nos fel dwy ffrwd fawreddog yn arllwys eu cynnwysiad i'w dilynwyr, &c. Nis gellir canfod holl ryfeddodau Duw hyd y nod yn y byd materol, heb gynnorthwy y dydd a'r nos i hyny. Fedr y nos ddim dangos y cwbl. I weled rhyfeddodau y ddaear a'r môr, &c., y mae gwasanaeth y dydd yn ofynol; ac i ganfod yr amrywiol ryfeddodau a ymgrogant ar fynwes y nefoedd, y mae galwad am wasanaeth y nos. Adnod yn perthyn i'r nos ydyw hono —" Pan edrychwyf ar y nefoedd, gwaith dy fysedd; y lloer a'r sêr, y rhai a ordeiniaist." Yn y nos y gwelir y lleuad fel bugeiles ofalus yn gwylio ei haneirif ddiadellau crwydrol ar eang feusydd y ffurfafenau uwchben. Unwaith yn ein hoes y buom mewn chwareufa (*theatre*), a sylwem y pryd hwnw fod y goleuni yn ystafell yr edrychwyr yn cael ei ddiffodd, er i'r golygfeydd ysblenydd yn y pellder draw ymddangos yn fwy eglur ac ardderchog. Yn gyffelyb y mae Duw; taena fantell o dywyllwch dros y ddaear, er i'w phreswylwyr gael golwg gliriach ar y gwrthddrychau affrifed sydd yn addurno'r fynedfa tua'r palas breiniol. Yr olygfa hon daniodd ysbryd yr emynydd i ganu—

"Pan bwy'n edrych i'r ffurfafen,
  I gynteddau'r hyfryd wlad;
Gwel'd y lloer a'r sêr fel blodau,
  Yn britho'r ffordd i dy fy Nhad;
Os yw'r fro o gylch y ddinas
  Mor ardderchog, beth yw'r dre'?
Lle mae ffryndiau'r Oen a laddwyd
  Byth yn gwledda—dyna le!"

"Nid *oes* iaith nac ymadrodd, *lle* ni chlybuwyd eu lleferydd hwynt." Y meddwl, yn ol rhai, ydyw, fod y dydd a'r nos yn bregethwyr cyffredinol, a bod holl genedloedd y ddaear yn deall eu cenadwri. Mae y syniad yn gywir; cenadon teithiol ydynt, yn mynegu clodydd a gogoniant yr Hwn a'u creodd. Ereill a ddywedant mai y meddwl yw eu bod yn siarad mewn iaith ddileferydd, ac y dylid eu darllen fel hyn:—"Nid oes iaith nac ymadrodd, ni chlybuwyd eu lleferydd hwynt." Y syniad gan hyny ydyw, mai iaith anllafaredig ydyw eiddo cenadon y nefoedd; traddodant eu negeseuau wrth y llygad ac nid wrth y glust. Mae y mudan yn analluog i ddweyd ei neges, ond i wneyd y golled i fyny goreu y gall, bydd carden ar ei fynwes yn siarad drosto, caria hi o'i flaen i bob man. Mae Duw yn y greadigaeth yn siarad mewn mudanrwydd,—carden ar ei *freast* ydyw y nefoedd a'r ffurfafen, i alw sylw yr edrychwyr at ei 'dragwyddol allu a'i Dduwdod." Cofia, gyfaill fod Duw *behind the scene.* Rhaid i Lyfr Grâs gael ei gyfieithu i wahanol dafodieithoedd y cenedloedd er deall meddwl yr Awdwr; ond y mae llyfr natur yn ddealledig yn mhob iaith, &c.

"Eu llinyn a aeth trwy yr holl ddaear, a'u geiriau hyd eithafoedd byd: i'r haul y gosododd Efe babell ynddynt."

Dengys hon nad oes neb yn bodoli tu allan i gylch eu gweinidogaeth. Diau fod cyfnod maith etto cyn y bydd i genadon yr efengyl ddyfod o hyd i holl dylwythau y ddaear; ond y mae tragwyddol allu a Duwdod y Creawdwr yn hysbys iddynt er's miloedd o flynyddoedd trwy y cenadon nefol: "Eu llinyn a aeth trwy yr holl ddaear." Pan osododd Duw ei fysedd ar danau telyn y greadigaeth, treiddiodd y sŵn i bob goror o'r ëang ymherodraeth: "Yn ddiau i'r holl ddaear yr aeth eu sŵn hwy, a'u geiriau hyd derfynau y byd:" (Rhuf. x. 18.)

"Eu llinyn a aeth trwy yr holl ddaear, a'u geiriau hyd eithafoedd byd: i'r haul y gosododd Efe babell ynddynt; yr hwn *sydd* fel gŵr priod yn dyfod allan o'i ystafell: ac a ymlawenha fel cawr i redeg gyrfa. O eithaf y nefoedd *y mae* ei fynediad ef allan, a'i amgylchiad hyd eu heithafoedd hwynt: ac nid ymgudd dim oddiwrth ei wres ef." Yn nghanol y rhai hyn y gorseddwyd teyrn y dydd i lywodraethu, yr hwn sydd yn dyfod allan yn ddyddiol yn ngherbyd llachar ei oleuni, i gadw *order* ar y bydoedd sydd yn ymrolio o'i gwmpas yn yr eangder diderfyn. Tad y goleuni ydyw ei dad, yr Hwn sydd yn rheoleiddio ei olwyniad; ac er ei fod yn fwy nâ miliwn o weithiau yn fwy nâ'r ddaear, mae ei dad yn ei drafod megys â'i fys, &c.

*Mae yr haul yn weithiwr cysson a dystaw.* Nid yn unig ymwêl â ni bob dydd, ond ymwêl â ni yn amserol bob dydd. Cyhoeddir amseriad y *trêns* yn mhob gorsaf; ond mynych y collant eu hamser cyn cyrhaedd hanner y daith. Ond cychwyna yr haul i'r eiliad yn y boreu o *station* y dwyrain, a chyrhaedda ben ei daith i'r amrantiad yn yr hwyr, &c.

*Yn weithiwr dystaw.* Teithia ei oleuni yn hynod gyflym; ond er hyny mor ddystaw â'r bedd. Pe teithiai y *trên* o'r haul i gyfeiriad y ddaear, yn ol y cyflymder o ddeugain milltir yr awr, a hyny heb aros yn unrhyw orsaf ar y ffordd, cymmerai iddo *ddau cant a phedwar ugain a phump* o flynyddoedd cyn cyrhaedd atom; ond daw goleuni yr haul atom bob boreu mewn saith a hanner o fynydau! Ond er cyflymed y daw, ni chlybuwyd erioed iddo dori cymmaint â gwydr ffenestr; ni ddeffrôdd faban, ac ni ddoluriodd erioed y llygad mwyaf *delicate*.

*Yn weithiwr siriol,* "Yn llawenhau, &c."

*Yn weithiwr diflino.* "Fel cawr yn rhedeg gyrfa, &c,;'

*Yn weithiwr rhyddfrydol.* "Ac nid ymgudd dim oddiwrth ei wres ef." Cyfrana ei fendithion i bawb a phob peth. Treiddia ei wres i eigion y ddaear, a hulia fywyd ar ei holl arwynebedd, &c.

II. Llyfr Datguddiad. "Cyfraith yr Arglwydd *sydd* berffaith, yn troi yr enaid: tystiolaeth yr Arglwydd *sydd* sicr, ac yn gwneuthur y gwirion yn ddoeth. Deddfau yr Arglwydd *sydd* uniawn, yn llawenhau y galon: gorchymmyn yr Arglwydd *sydd* bur, yn goleuo y llygaid. Ofn yr Arglwydd *sydd* lân, yn parhau yn dragywydd: barnau yr Arglwydd *ydynt* wirionedd, cyfiawn *ydynt* i gyd. Mwy dymunol *ynt* nag aur, ïe, nag aur coeth lawer; melusach hefyd nâ'r mêl, ac na diferiad diliau mêl. Ynddynt hwy hefyd y rhybuddir dy was: o'u cadw *y mae* gwobr lawer."

Gadawn lyfr natur yn bresennol er sylwi gair ar lyfr gras. Er cystal ydyw y blaenaf, y mae yr olaf yn rhagori—ei ddylanwad ar ddyn yn ddyfnach, a'i effeithiau yn cyr-

haedd yn mhellach i'w fodolaeth. Mae llyfr natur yn berffaith i'r dyben y cafodd ei fwriadu—dangos Duw Anfeidrol mewn gallu a doethineb; ond yn llyfr gras, canfyddwn Dduw Anfeidrol mewn tosturi a maddeugarwch. Gall llyfr gras ddilyn llyfr natur i bob man, tra na fedr yr olaf wneyd hyny â'r blaenaf, yr hwn sydd a'i ddylanwad yn ysbrydol, a'i effeithiau yn dragwyddol, &c.

Dengys y frawddeg flaenaf yn llyfr gras yr hyn yw Duw ynddo ei hun: "Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith." Tybia hyn fod yr Arglwydd ei hun o angenrheidrwydd yn berffaith; oblegyd "ni ddichon pren drwg ddwyn ffrwythau da, na phren da ddwyn ffrwythau drwg." Dyma gyfraith yn sefyll ar ei phen ei hun yn nghanol cyfreithiau y greadigaeth—"perffaith," "sicr," "uniawn," "pur," &c. Diolchwn am gyfreithiau mor dda yn Mhrydain, ond pell ydynt o fod yn berffaith; mae y diddymu a'r diwygio parhaus sydd yn eu hanes yn profi nad ydynt yn berffaith: ac ni ddeuant byth yn berffaith tra fyddo eu hawdwyr yn anmherffaith. Fel y mae ein seneddwyr ni yn newid a diwygio cyfreithiau seneddwyr yr oesau a aethant heibio, y bydd ereill etto yn gwneyd â'r eiddynt hwythau. Ond yn nghanol cyfnewidiadau y byd a'i bobl, "Gair ein Duw ni a saif byth." Nid oes galwad i newid y perffaith, beth bynnag fyddo, oblegyd nis gellir rhoddi gwell yn ei le. Mae ar ei phen ei hun yn ei gwaith hefyd: "troi yr enaid"—"gwneuthur y gwirion yn ddoeth, &c." Mae hon yn alluog i droi yr enaid i'w delw ei hun, ac felly i ddelw Duw. Santeiddrwydd yn yr enaid fydd ei lythyr gollyngdod i'r nef; oblegyd "heb santeiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd." Ni chlybuwyd erioed am gyfraith yn troi yr enaid

ond hon. Trin cyrff dynion, a hyny trwy orfodaeth y mae cyfraith Prydain; nid yw yn alluog i gyrhaedd serch, ewyllys, a chalon y deiliaid. Ond hon yn gwneyd hyny, &c.

Creadur anhawdd i'w *droi* ydyw enaid. Gall ef droi lluaws o bethau; troi cyfeiriad llong ar y môr, a pheiriant ar y rheilffordd. Mae lluaws o elfenau natur yn ddarostyngedig iddo; ymeifl yn ngwár y fellten, yr hon fel morwyn a gluda ei feddyliau gyda brys aruthrol ar hyd y wyfren (*wire*) trwy y moroedd, a thros fynyddoedd a chymoedd. Ffrwyna feirch, dofa ehediaid, gwareiddia wylltfilod rheibus, &c. Ond am dano ei hun, mae mor aflywodraethus fel mae yn rhaid cael Duw ato. Gall yr Arglwydd *droi* enaid, a hyny heb dreisio ei natur—o'i fodd ac yn ewyllysgar: "O'i wir ewyllys yr *ennillodd* Efe nyni trwy air y gwirionedd." Erlidiwr heb ei ail oedd Saul o Tarsus—chwythai fygythion a chelanedd,—enynai ager uffern ei gynddaredd at ddysgyblion yr Arglwydd: ond rhywle tua hanner dydd, ar y ffordd i Damascus, cofiodd yr amgylchiad tra fu byw, cyffyrddodd yr *engineer* mawr â gwialen wrthdro (*reversing rod*) ei fywyd, ac yn y fan dyna holl alluoedd ei enaid yn gwêithrddu i gyfeiriad gogoniant Duw. Wele'r llew yn oen, y cablwr yn weddïwr, a'r hwn oedd gynt yn ein herlid ni yn un ohonom: "troi yr enaid."

*Ei droi ato ei hun.* Y mab afradlon, &c. Dyma waith cyntaf gras, &c.

*Ei droi at Dduw.* I'w wneyd yn debyg iddo, ac yna ceir golwg ar Drindod o berffeithrwydd,—y gyfraith, ei hawdwr, ac enaid wedi ei droi.

*Gwaith ymarferol cyntaf efengyl ydyw troi enaid.* Ei symmud o dywyllwch i oleuni, ac o'r goleuni hwnw daw

goleuni i'r deall, sefydlogrwydd i'r enaid, santeiddrwydd i'r bywyd, a llawenydd i'r galon: ac o radd i radd, daw "dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio yn mhob gweithred dda."

*Mae y gwahanol agweddau hyn ar gyfraith yr Arglwydd yn cyfansoddi ei rhagoriaeth ar bethau goreu y byd hwn.* "Mwy dymunol ŷnt nag aur, ïe, nag aur coeth lawer: melusach hefyd nâ'r mêl, ac nâ diferiad diliau mêl." Nid oes galwad am ddarostwng y naill beth o eiddo Duw i ddyrchafu'r llall. Er dyrchafu yr hen oruchwyliaeth i'r man uwchaf dichonadwy, rhagora'r newydd gymmaint arni ag y rhagora Crist ar Moses a'r angylion, Mae Crist yn fawr yn nghanol y mawrion, a'i efengyl yn rhagori ar holl weithredoedd ereill Duw yn eu manau goreu: "Mwy dymunol ŷnt nag aur." Yr aur ydyw y bathodyn uwchaf a gwerthfawrocaf mewn masnachaeth; y mae mor werthfawr yn ngolwg llawer fel y gwnant bwrs o'u calon i'w gadw. Nid aur yn unig sydd gan Dafydd, ond yr aur goreu, a'r aur goreu yn y cyflawnder ohono,—"aur coeth lawer." "Melusach hefyd nâ'r mêl," ac nid rhywfath o fêl, ond y mêl goreu; nid mêl o'r llestr, ond mel yn ei ddiferion melusaf o'r diliau, &c.

*Nid mater o opiniwn ydyw hwn, ond profiad.* "Yn ddynt hwy hefyd y rhybuddir dy was: o'u cadw *y mae* gwobr lawer." Buont yn gymhorth iddo goncro llawer gelyn a gorchfygu llawer temtasiwn, &c. Crybwyllir am Iuddew unwaith yn dyfeisio cynllun i wenwyno Martin Luther, ond a rwystrwyd yn ei amcan gan waith rhyw gyfaill i'r diwygiwr yn anfon darlun o'r drwgweithredwr iddo. Mae lluaws o ddrwg-weithredwyr moesol ar y maes,

a'u prif amcan ydyw gwenwyno eneidiau ; ond o'i drugaredd, y mae Duw yn ei air wedi tynu darluniau ohonynt oll, er mwyn i ni eu hadnabod a'u hosgoi : "Ynddynt hwy y rhybuddir dy was, &c."

*Cynnwysant wobrwyon hefyd.* "O'u cadw y mae gwobr lawer." Nid *heb* eu cadw, ac nid *am* eu cadw, ond *o'u* cadw. Mae y gwaith yn cynnwys y wobr, a'r wobr yn cyfodi o'r gwaith.—"o'u cadw." Nid *am* briodi y ferch y rhoddodd y boneddwr y mil punau i'r priodfab ar foreu y briodas, ond *wrth* briodi aeth i berthynas â'r boneddwr, a daeth cyfoeth y boneddwr yn eiddo iddo yr un foment â'r ferch. 'Does neb yn dysgwyl bywyd tragwyddol am gadw'r gorchymmynion, o na, "dawn (rhodd) Duw ydyw bywyd tragwyddol ;" ond dysgwylir llawer, a cheir llawer *wrth* eu cadw. A pha faint bynnag a gafwyd yn y gorphenol, mae mwy ar ol yn y dyfodol : "Mae i chwi eich ffrwyth yn santeiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol. "Gwobr lawer, &c."

III. Dylanwad y ddau lyfr ar y myfyriwr. "Pwy a ddeall *ei* gamweddau ? Glanha fi oddiwrth *fy meiau* cuddiedig."

Dyma'r sylwedydd wedi troi yn ymofynydd, y myfyriwr yn weddïwr, a'r hwn a godai ei olygon tua'r haul yn plygu dan faich ei bechod at draed ei Greawdwr. Mae astudiaeth fanwl o ddeddf Duw yn ei phurdeb a'i glendid dihafal, wedi cynnyrchu ymholiad yn Dafydd mewn perthynas i'w gyflwr moesol.

Rhaid wrth oleuni priodol er canfod yn briodol ; a'r unig fan i ddyn gael hyny ar ei gyflwr ydyw gair Duw. Dyma'r

drych iddo i weled ei hun pa fath ydyw. Y mae Hwn yn wahanol i bob drych arall, yn ei waith yn cyfeirio at foddion glanhâd gyda dangos yr aflendid. Helbul a dyryswch sydd ar wahan oddiwrth Dduw. Cawn Dafydd felly unwaith mewn perthynas i'w ragluniaeth: "Yn ofer y glanheais fy nghalon, ac y golchais fy nwylaw mewn diniweidrwydd:" Psalm lxxiii. 13. Cofier mai Dafydd o'i le sydd yna, a thra yn y cyflwr hwn, yr oedd amcanu gwybod yn flin yn ei olwg; ond pan newidiodd ei safle—yr aeth i dŷ Dduw at oleuni y gyfraith, gwelodd yn glir, a gwelodd yn mhell—mor bell â diwedd yr annuwiol yn ei godwm anadferadwy.

Iaith profiad yn ngoleuni deddf Duw ydyw y gofyniad hwn. Mae pob safon arall yn agored i'n camarwain. Os edrychwn ar ein cyd-ddynion, canfyddwn rai yn well a rhai yn waeth nâ ni. Ond am air Duw, dywed hwn pa fath rai ydym, a pha fath rai y dylem ac y rhaid i ni fod er rhyngu bodd yn ei olwg Ef, &c.

(1.) *Yr ymofynydd pryderus.* "Pwy a ddeall ei gamweddau?" Diau fod y cwestiwn hwn, neu ei gyffelyb wedi ei ofyn filwaith ar ol y tro hwn; ond hyd yma heb atebiad. Nid ei ofyn er mwyn atebiad ddarfu yr awdwr, ond oddiar syndod gwylaidd yn yr olwg ar ddrygedd ei gyflwr yn ngoleuni gair Duw. Mae lluaws o ofyniadau Beiblaidd yn cynnwys atebion ynddynt eu hunain, megys, "Os creffi ar anwireddau, Arglwydd, O Arglwydd, pwy a saif?" Ni saif neb. "Pa fodd y diangwn ni os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?" Anmhossibl. "Pwy a ddeall ei gamweddau?" Neb; mae mesur eu maint, cyfrif eu nifer, ac amgyffred eu hamrywiaeth yn fwy gorchwyl nag sydd yn ngallu dyn i'w gyflawni: "Fy mhechodau a'm daliasant,

fel na allwn edrych i fyny; amlach ydynt nâ gwallt fy mhen:" (Psalm xl. 12.)

Mae pechod yn egwyddor gynnyddol—"camweddau." Bu adeg pryd nad oedd yn bodoli o gwbl. Yn mhen yspaid cyfarfyddwn ag ef yn gwisgo enw unigol, "camwedd Adda;" ond erbyn heddyw y mae un camwedd Adda wedi myned yn gamweddau lawer yn ei hiliogaeth, &c.

Gwelsom ar ddiwedd ambell gyfrol ychydig linellau "gwelliant gwallau,"—ychydig cymharol ydyw eu nifer. Ond wrth i Dafydd adolygu dalenau ei fywyd yn ngoleuni yr ysgrythyrau, gwêl nad oes ynddynt ddim ond gwallau; ac yn yr olwg ar eu mawredd a'u lluosogrwydd, tyr allan mewn syndod gwylaidd i ofyn "Pwy a ddeall ei gamweddau?'

(2.) *Yr addefwr gostyngedig.* Mae ei waith yn crybwyll am gamweddau a beiau cuddiedig gerbron yr Arglwydd, yn brawf ei fod yn cydnabod eu bodolaeth, ac yn cael ei flino ganddynt. Hawddach gwaith ydyw cydnabod beiau na'u deall; gall dyn wneyd y cyntaf, tra y mae yn rhaid cael Duw at yr ail. Mae pechodau cuddiedig yn bechodau cartrefol, ac fel merched Heth i Rebeccah ac Isaac, yn rhwym o brofi yn chwerwder ysbryd i'w perchenog, nes peri iddo flino ar ei einioes. Nid cuddiedig oddiwrth ei gyd-ddynion yn unig, ond i raddau mawr oddiwrtho ei hun hefyd; er y gŵyr dyn fwy am dano ei hun nâ neb arall, etto, gŵyr Duw fwy nag ef. Mae Duw yn nes ato nag ydyw ei gnawd i'w esgyrn; mae ei feddyliau ofer, ei ddychymmygion gau, a'r miloedd pechodau a gyflawnodd mewn anystyriaeth, ar gôf a chadw gan yr Arglwydd.

Daw y beiau cuddiedig yn feiau cyhoeddus rhyw dro, heb i

Dduw eu maddeu. Os dygwydd i ni ddianc rhagddynt yn y byd hwn, fe'n goddiweddir ganddynt yn y byd a ddaw. Mae ennghreifftiau ar gael, o ddynion yn methu cael eu gollwng gan angeu heb ddynoethi eu hunain o'r pechodau dirgelaidd a gyflawnasant. Nis gallwn gredu y syniad pabyddol o ddynoethi ein holl bechodau dirgelaidd i ddynion,—fedrant hwy ddim cadw *secrets*. Ond am yr Arglwydd, gallwn fentro ein holl achosion iddo ; mae yn ddigon o gyfaill i gadw'r gyfrinach, ac yn ddigon trugarog i faddeu yr anwiredd.

(3.) *Y gweddiwr difrifol.* "Glanha fi." Os nad yn alluog i ddeall ei gamweddau, gwyddai pa le i gyfeirio am waredigaeth oddiwrthynt. Termau cyffredin gan y Salmydd i ddynodi maddeuant pechodau ydynt "dileu," "golchi," a "glanhau." Defnyddir y cyntaf mewn cyssylltiad ag ysgrifenu ; cyfeiria yr ail at yr hen ddull o olchi dillad a gwisgoedd ; y trydydd at gymhwysiad personol o'r oruchwyliaeth, &c. Yn ol y gymhariaeth flaenaf, ar bapyr neu femrwn y gweithredir ; yn ol yr ail, ar ddilledyn ; ac yn ol y drydedd, ar y cyfansoddiad dynol. Mae cyfraith y gwahanglwyf yn hysbys i'r darllenydd—ei fod yn glefyd ag oedd yn llygru yr holl gyfansoddiad ; a chan ei fod yn heintus ac ymdaenol, gorfodid y dyoddefydd i fyw mewn ymneillduaeth dros ei oes ; oddieithr iddo dderbyn glanhad, ni chaniateid iddo ddyfod i Jerusalem, i ymgymmysgu â'r llwythau yn addoliad yr uchel-wyliau santaidd.

Beth yw pechod ? Dyma'r clefyd andwyol ag y mae pob dyn i raddau mwy neu lai yn ei afael. Clefyd ydyw sydd yn cadw yr annuwiol yn mhell oddiwrth Dduw, yn ei gau allan o'r ddinas gyfaneddol, a'i gau i fewn yn uffern obry,

lle na bydd gobaith am wellhad yn oes oesoedd. Mor briodol gan hyny ydyw gweddi Dafydd,—" Glanha fi."

Mae pawb a weddïodd weddi gyffelyb, wedi clywed atebiad oddiwrth yr Archoffeiriad mawr yn dywedyd " Mynaf—bydd lân." Cofia, ddarllenydd, fod yn rhaid cael glendid cyn cael nefoedd ; y nefoedd ynot ti fydd dy unig sicrwydd di am y nefoedd : " Nid â i mewn iddi ddim aflan, nac yn gwneuthur ffieidd-dra na chelwydd ; ond y rhai sydd wedi eu hysgrifenu yn llyfr bywyd yr Oen :" (Dat. xxi. 27) ; ac nid oes neb yn y llyfr hwnw ond y rhai a olchwyd oddiwrth eu pechodau yn ngwaed yr Oen. Bydded hyny yn rhan i ti. Amen.

# PREGETH VI.

## DAU GYFLWR BYWYD.

"Canys meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw. Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni, yna hefyd yr ymddangoswch chwithau gydag ef mewn gogoniant."—Col. iii. 3. 4.

DYGIR y testyn yn mlaen gan yr Apostol fel rheswm dros y cymhelliad a rydd yn y ddwy adnod flaenorol. Yn yr adnod flaenaf anoga y brodyr i geisio y pethau sydd uchod,—"Ceisiwch y pethau sydd uchod." Mae efengyl yn gyfundrefn sydd a'i gogwydd tuag i fyny,—"uchod." Oddi fyny y daeth, ac yno drachefn mae ei thynfa. I fyny y mae pob peth sydd dda; yno y mae Crist yn eistedd ar ddeheulaw Duw, ac amcan mawr efengyl ydyw dwyn Crist at ddynion yma, a dwyn dynion at Grist i'r nef.

Yn yr ail adnod y mae yn myned gam yn mhellach,—"Rhoddwch eich serch ar bethau sydd uchod." Y mae nid yn unig am iddynt eu ceisio, ond am iddynt fyw ac ymgartrefu o ran y meddwl a'r serch gyda hwynt. Diau fod mwy o ddiffyg yn hyn nag yn mhob peth arall o'n cyflawniadau crefyddol. Fe allai fod y "ceisio" a'r gofyn yn bob peth a ellir ei ddymuno; ond faint o le y mae yr hyn

a geisir yn ei gael yn y meddwl a'r serch ?—faint o aros a glynu gyda'r pethau sydd uchod sydd yn ein hanes ? Onid oes lle i ofni ein bod yn rhy debyg i blant drwg yn fynych, yn curo wrth ddrws y tŷ ac yn ffoi ymaith cyn derbyn y neges ? "Rhoddwch eich serch ar bethau sydd uchod." Paham ? "Canys meirw ydych."

Creadur rhyfedd ydyw dyn ; creadur ydyw sydd yn farw ac yn fyw yr un pryd,—"Meirw ydych, a'ch bywyd." Mewn ystyr foesol yn unig y gellir dweyd hyn am dano. Gwir fod elfenau dadfeiliad a hadau marwoldeb ynddo pan yn fyw, er hyny, nid priodol ydyw dweyd ei fod yn fyw ac yn farw ar yr un pryd mewn ystyr naturiol. Byw *neu* farw ydyw ar unwaith o ran ei gorff ; byw cyn gweithrediad angeu a marw wedi hyny. Ond fel y mae yn greadur moesol ac ysbrydol, y mae yn fyw ac yn farw ar yr un adeg. Dynion felly gyferchir gan yr Apostol yma,— "Meirw ydych, a'ch bywyd," &c.

Defnyddir ymadroddion ereill yn yr Epistol sydd yn cyfateb i'r ddau gyflwr hyn, sef "claddu" a "chodi." "Wedi eich cyd-gladdu ag ef yn y bedydd, yn yr hwn hefyd y'ch cyd-gyfodwyd trwy ffydd gweithrediad Duw." (Pen. ii. 12.) Mae claddu yn rhag-dybied marw, a chodi yn rhag-dybied bywyd. Yn y bedydd yr oedd y bywyd newydd yn cychwyn, ac yno yr oedd yr hen fywyd blaenorol yn myned i'w fedd. Yr oedd yno ddiosg a gwisgo yn cymmeryd lle yr un pryd.

Y gwahaniaeth mawr rhwng y credadyn a'r annghredadyn ydyw, fod y naill yn farw *i* bechod, a'r llall yn farw *mewn* pechod. Mae y dyn sydd yn farw *mewn* pechod yn byw i bechu, tra mae y dyn sydd yn farw *i* bechod yn byw

i beidio pechu. Marw *mewn* pechod yw pawb wrth natur. "Chwithau a fywhaodd Efe pan oeddych feirw *mewn* camweddau a phechodau." Ond marw *i* bechod ydyw pawb sydd dan ras. Nid nad ydyw y cristion yn pechu; mae ffeithiau galarus yn hanes ei fywyd sydd yn dangos ei fod yn pechu. Ond etto, nid yw pechod yn meddu yr un lywodraeth arno ag a fu. "Canys nid arglwyddiaetha pechod arnoch chwi mwyach; oblegyd nid ydych chwi dan y ddeddf, eithr dan ras."

Bu cyfnod yn eu hanes pan oedd pechod yn orseddedig yn y galon, ac yn llywodraethu ar holl deyrnas yr enaid; buont yn gaethion iddo, ac yn cael eu harwain ganddo i gyflawni pob drwg yn un chwant. Ond yn awr, er ei fod yma, nid ydyw yn arglwydd; di-orseddwyd ef o'r galon gan ras Duw, ac ni ddaw byth yn ol. Nid yn y brif ddinas y mae yn byw yn bresenol, ond yn y pentrefi cylchynol; deddf yn yr aelodau ydyw yn gwrthryfela yn erbyn deddf y meddwl, ac wrth farwhau yr aelodau yn ol anogaeth yr adnod ddilynol, gwanheir a marweiddir y dyn pechod. Gwingo ydyw ei hanes yn ei berthynas â'r cristion, wrth dynu ei anadliadau olaf.

Sylwn ar fywyd y credadyn yn ei ddau gyflwr.

I. Ei gyflwr presenol. "Eich bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw."

Tybiwn fod y gair "cuddio bywyd" yn cynnwys dau beth, sef *dirgelwch* a *dyogelwch* y cyfryw. Cuddiedig ydyw gyda Christ yn Nuw.

(1.) *Ei ddirgelwch.* Bywyd ydyw nad oes neb ond ei awdwr yn ei ddeall. Mae gormod o ddirgelwch yn ei am-

gylchynu i'w berchenog allu ei amgyffred. Dichon mai yr oll a wyr am dano ydyw ei fod yn ei feddiant. Anmhossibl iddo fodoli heb yn wybod i'w berchenog, gan mor effeithiol ydyw yn ei weithrediadau. Dwfr bywiol ydyw yr anian newydd yn tarddu i fywyd tragywyddol. Ychydig iawn o ddeall bywyd o fath yn y byd sydd ; er yr holl ymdrechion a wnaed gan rai o brif feddylwyr yr oesau, terfyna pob ymchwiliad athronyddol mewn tywyllwch. Ni buwyd yn nes yn y diwedd nag yn y dechreu i ddyfod o hyd iddo. Ar un olwg, 'does dim yn fwy amlwg na bywyd ; amgylchynir ni ar bob llaw ganddo. Mae y dwfr, yr awyr, y llwch, &c., yn orlawn o fywyd ; tra ar olwg arall, 'does dim yn fwy anamlwg nag ef. Mae y llwybr tuag ato yn annhramwyadwy i bawb ond ei Wneuthurwr. Ac os ydyw y bywyd sydd yn ein hymyl,—y bywyd llysieuol, anianyddol, anifeilaidd, naturiol, &c., yn meddu ar y fath ddirgelwch, pa faint mwy y bywyd hwnw sydd a'i wraidd â'i darddiad yn natur Duw ei hun ?

Mae hwn fel pob bywyd arall yn amlwg yn ei effeithiau, oblegyd anmhossibl iddo fodoli heb ddangos ei nodau. Pan welir y cybydd wedi dyfod yn hael, y meddwyn yn sobr, yr afradlon yn gynnil, y cablwr yn weddïwr, &c., cesglir ar unwaith mai y bywyd hwn sydd yn dangos ei hun. "Eithr ffrwyth yr ysbryd yw cariad, llawenydd, tangnefedd, hir-ymaros, cymmwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest." (Gal. v. 22.) Ond hynod mor ddystaw a dirgelaidd y gweithiwyd y cyfnewidiad ; deffrödd Ysbryd Duw gydwybod y fam anystyriol heb yr aflonyddwch lleiaf i'r baban a gysgai yn ei mynwes ; tynwyd allan y galon gareg o fynwes yr annuwiol heb yn wybod i'r cyfaill a eisteddai

yn nesaf ato yn yr addoldy. "Y mae y gwynt yn chwythu lle y myno; a thi a glywi ei sŵn ef, ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned; felly y mae pob un a'r a aned o'r Ysbryd." (Ioan iii. 8.)

(2.) *Ei ddyogelwch.* Tra nad ydyw *pob* bywyd dirgel yn ddyogel, y mae hwn yn bob un o'r ddau. Mae yn bossibl dyfod o hyd, a dinystrio ambell i fywyd er methu ei ddeall. Nis gallwn ddeall y bywyd llysieuol, ond coder ei wraidd o'r ddaear, a dyna ddinystr arno. Mae y bywyd anifeilaidd y tu hwnt i'n hamgyffredion, ond gollynger gwaed yr anifail, a dyna derfyn ar fywyd, &c.; ond am fywyd y credadyn, y y mae mor ddyogel ag ydyw o ddirgel. Mae yn cyfaneddu tiriogaeth na ddaw gelyn o hyd iddo yn dragywydd. "Efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd." Croesodd linell marwolaeth i gyfandir bywyd, ac yno y bydd yn oes oesoedd. Mae dau beth yn cyfrif am y dyogelwch hwn.

(*a.*) Ei gyssylltiad perthynasol â Christ. Mae ei gysylltiad â Christ yn sicrhau na ddigwydd niwed iddo. "Minnau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol; ac ni chyfr-gollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw I." Costiodd y bywyd hwn yn rhy ddrud i'w Awdwr ei hun. Gwerthfawr waed Crist dalwyd am dano, a'r llaw fu yn taenu y gogledd ar y gwagle, ac yn crogi y ddaear ar ddiddim, sydd yn ei ddyogelu; a phwy fedr agor y llaw hono? "Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist?" Mae y cwestiwn yn aros hyd heddyw heb atebiad; a chan nad oes yr un i'w gael, erys byth.

(*b.*) Ei safle anrhydeddus.—"Yn Nuw." Mae iachawdwriaeth pechadur yn olrhain ei tharddiad o Dduw; ac

y mae fod y bywyd newydd yn dyddio yn mhellach yn ol nâ bodolaeth y gelyn yn sicrwydd na lwydda byth i ddyfod o hyd iddo. Un Bôd Anfeidrol a Thragywyddol sydd, a Hwnw ydyw Duw. Creadur ydyw diafol yn dibynu am ei fodolaeth fel ereill ar y Creawdwr. Ond safle y bywyd hwn ydyw Duw ei hun; ei wreiddiau ydynt cynghor, arfaeth, a bwriadau Duw; a chyrhaedda y rhai hyn yn mhellach yn ol nâ dyddiau y ddaear. Mae braich yr un drwg gan hyny yn rhy fer i gael gafael ynddynt. Diolchai brawd ar weddi unwaith mai yn Nuw yr oedd ei fywyd newydd ac nid ynddo ei hun; "pe amgen," meddai, "buaswn wedi ei golli luaws o weithiau, pe buasai hyny yn bossibl, wrth golli fy nhymherau." Cofus genym am un hen chwaer, Mary Evans, gweddw yr Hybarch Evan Evans o'r Garn, yn dweyd ar ei gwely angeu, ei bod yn rhyfeddu fod dim o'i chrefydd yn aros hyd yr adeg hono, gan gynnifer y bwledi ollyngwyd ati o fagnelau y gelyn yn ystod y tri-ugain mlynedd y bu yn rhyfela yn myddin yr Oen. "Mae hyn," meddai, "yn fy argyhoeddi fwy, fwy, mai nid arnaf fi yr oedd fy nghrefydd yn dibynu, ond ar yr Arglwydd." Ac yn y *stage* olaf o'i gwendid, adroddodd y geiriau hyny, "Canys buost yn noddfa i mi, ac yn dŵr cadarn rhag y gelyn. Preswyliaf yn dy babell byth; a'm hymddiried fydd dan orchudd dy adenydd." (Psl. lxi. 3, 4.)

Un hynod yw Duw am guddio; nid oes gwahaniaeth pa beth a guddia, nac yn mha le y cuddia y peth hwnw,—pa un ai yn y ddaear, yn y môr, ai ynddo ei hun, mae dyogelwch yn mhob un o honynt. Cuddiodd gorff Moses yn y ddaear, ac ni ddaethpwyd o hyd iddo byth; yr Hwn a'i claddodd yn unig a wyr pa le i chwilio am dano foreu y

codi. Penderfynodd ar le i gladdu beiau na ddaw neb yn dragywydd o hyd iddynt. "Efe a ddychwel, Efe a drugarha wrthym; Efe a ddarostwng ein hanwireddau; a thi a defli ein holl bechodau i ddyfnderoedd y môr." (Micah vii. 19.)

Gwyneb Duw sydd ar y maddeuedig, ond ei gefn sydd ar ei bechodau. "Canys ti a deflaist fy holl bechodau o'r tu ol i'th gefn." A phwy tybed ddaw o hyd i'r lle hwnw nad yw Duw yn gwybod am dano? Ond os oes rhyw le dyogelach na'r llall, credwn mai Duw ei hun ydyw hwnw, a dyma'r fan y rhyngodd bodd yn ei olwg i guddio bywyd y credadyn; o ganlyniad, rhaid i'r gelynion gloddio trwy y Duwdod ei hun cyn cyffwrdd â bywyd un o'r saint. "Eich bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw."

II. Y BYWYD HWN YN EI DDADLENIAD GOGONEDDUS.

Nid cuddiedig a dirgeledig ydyw i fod yn barhaus; O na, y mae adeg dadorchuddio y colofnau caboledig heb fod yn mhell. "Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni, yna hefyd yr ymddangoswch chwithau gydag ef mewn gogoniant." Pwy ddychymmygai, wrth edrych ar yr eginyn bychan sydd yn plygu ei ben dan y tyner wlith, bod y fath allu dadblygiadol yn llechu yn ei gyfansoddiad gwanaidd,—y gwelid ef yn y misoedd haf yn dal tywysen yn llawn o ŷd, ac yn gwisgo gogoniant melynwyn yr haul? Pa beth ganfyddir yn nagrau, gweddïau, &c., y credadyn? Onid y bywyd ysbrydol yn graddol ymddadblygu i'w lawn dŵf? Parotoad ydyw tuag at ddal tragywyddol bwys gogoniant, ac edrych ar wyneb Duw mewn cyfiawnder.

Mae tebygolrwydd neillduol rhwng Crist a'i bobl yn eu dau gyflwr. Pan ymddangosodd y Crist tro cyntaf, ychydig

iawn a'i gwelodd yn ei wir gymmeriad. "Yn y byd yr oedd Efe, a'r byd a wnaethpwyd trwyddo Ef, a'r byd nid adnabu Ef." Rhyw ambell un fel Ioan oedd yn meddu ar ddigon o graffder i weled y Shecinah Ddwyfol trwy leni'r ddynoliaeth, fel ag i ddwyn tystiolaeth, "Ni a welsom ei ogoniant Ef, gogoniant megys yr unig-anedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd." Os na welodd y byd Iesu, na ryfeddwn iddo fethu ein gweled ni; os na welodd yr Haul, pa syndod os na wel y sêr. Ond pan ymddengys yr ail waith, bydd i bob llygad ei wel'd, a'i wel'd yn ogoneddus iawn; a dyma yr adeg y bydd y credinwyr yn gyffelyb iddo gyrff ac eneidiau.

Byddant yn ddigon gogoneddus y pryd hwn i'r Iesu eu dangos ar g'oedd y bydoedd, a dywedyd, "Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi." Cyfnod fydd hwn pan na fydd dim ond gogoniant yn hanes y credadyn; gogoniant ynddo, a gogoniant am dano; gogoniant corff a gogoniant enaid; gogoniant cyflwr a gogoniant lle; gogoniant mewn gogoniant; gogoniant o amgylch gogoniant; a gogoniant yn gweithio i ogoniant na welir diwedd iddo yn oes oesoedd.

Cofia, enaid anwyl, fod gras yn barotoad i'r gogoniant hwn, ac mai yr un person anfeidrol gyfoethog sydd yn rhoddi y ddau. "Yr Arglwydd a rydd ras a gogoniant." Mae gras yn blaenori gogoniant ac yn gymhwysder iddo. Gweddïwn lawer am ras cadwedigol, fel, yn ei oleuni, y gallom ddarllen ein hawl i'r gogoniant.

# PREGETH VII.

## YR AWGRYM A'R SICRWYDD.

"Yn lle drain y cyfyd ffynidwydd, yn lle mieri y cyfyd myrtwydd; a hyn fydd i'r Arglwydd yn enw, ac yn arwydd tragywyddol, yr hwn ni thorir ymaith."—Es. lv. 13.

FE gyfaddefir gan bob plaid uniawngred o grefyddwyr fod y Beibl yn llyfr goruwch-naturiol, "wedi ei roddi gan ysbrydoliaeth Duw," ac wedi ei lefaru gan Dduw ei hun, neu gan ddynion santaidd dan gyfarwyddyd ei Ysbryd. Ond er ei fod yn oruwch-naturiol, mae yn hawdd canfod wrth ei fyfyrio ei fod yn llawn o natur. Er ei fod yn ddwyfol yn ei darddiad, yn ysbrydol yn ei gynnwysiad, ac yn rasol yn ei amcan; y mae yr oll sydd yn bwysig i ddyn, ac yn angenrheidiol iddo eu gwybod am gyflwr presenol y byd trwy bechod, a'i ddyfodol gogoneddus trwy yr efengyl, wedi cael eu datguddio mewn iaith eglur a ffigyrau adnabyddus. Mae anallu naturiol mewn dyn i fedru amgyffred yr ysbrydol a'r tragywyddol heb gynnorthwy y naturiol a'r gweledig. Mewn amser y ganwyd ef, gwrthddrychau materol dynodd ei sylw gyntaf, ac y mae mater a chnawd yn cyfyngu ar ei alluoedd meddyliol o'i gryd i'w fedd. Ond y mae Duw yn ei air santaidd wedi

cyfarfod â'r anallu hwn, trwy ymostwng i roddi esboniad ar y gweledigaethau pell trwy wrthddrychau agos; yr ysbrydol trwy y materol, a'r tragwyddol trwy yr amserol. Lleferydd eglur Duw trwy berthynasau agos i ni ydyw y Beibl; llefarodd wrth y tadau trwy y prophwydi, ac wrthym ni yn ei Fab. Mae y ffigyrau lluosog ac amrywiol a fenthycir oddiwrth arferion a gwrthddrychau y byd hwn yn profi mai meddwl Duw yn iaith dyn ydyw. Mae y Beibl yn ein gwneyd yn adnabyddus i ryw raddau ag amgylchiadau dyfodol y ddau fyd. Mae dyn o ran ei fyfyrdod yn caru rhoddi tro i'r dyfodol; yno y mae ei obeithion a'i ddysgwyliadau, ac yno, gan faint ei newyn a'i syched am wybodaeth, y mae y meddwl yn hunan-ddifyru mewn chwilfrydedd diorphwys. Cyn y byddo dyn yn ymfudo i wlad bell, mae yn awyddus i wybod rhywbeth yn ei chylch, megys tymheredd ei hinsawdd, dyogelwch ei deddfau, iachusrwydd ei hadnoddau, ansawdd ei thrigolion, &c. Cyfarfod â'r dymuniadau hyn oedd dyben yr holl areithio ar Patagonia yn y blynyddoedd diweddaf. Mae dyn mewn ystyr foesol yn ymfudwr; dechreua ei daith tua byd arall can gynted ag y dechreua anadlu yn y byd hwn, ac nid yw yn aros eiliad nes y cyrhaedda yno. Dr. Young a ddywed yn ei *Night Thoughts*, "*Our birth is nothing but our death begun; as tapers waste that instant they take fire.*" Naturiol, gan hyny, i ddyn ydyw ymofyn rhywbeth yn nghylch y byd hwnw, a cheisio gwybod ei sefyllfa ar ol cyrhaedd yno. Mae yr Arglwydd yn ei air wedi codi godreu y llen, er rhoddi cipolwg iddo ar y byd anweledig, a sefyllfa ddyfodol plant dynion. Mae y Beibl hefyd yn egluro cyflwr dyfodol y byd hwn. Wrth sylwi ar drefn (annhrefn) presenol pethau,—gwel'd y drwg

a'r da mewn ymryson parhaus â'u gilydd, a'r naill a'r llall fel pe ar eu heithaf i chwifio lluman buddugoliaeth, naturiol ydyw gofyn, "Beth fydd diwedd y pethau hyn?" I'r gofyniad hwn, nid oes llef na neb yn ateb o gyfeiriad y ddaear; er troi dalenau anian, ni chlywir ond swn dystawrwydd a mudandod yn dyfod atom o bob cyfeiriad. Ond yn y gair, y mae Duw yn tori ar y dystawrwydd hwn; dyma oleuni digon llachar i chwalu niwl a thywyllwch y dyfodiant, a dwyn i'r amlwg ddigwyddiadau pell. Mae lluaws o ragfynegiadau y Beibl wedi eu cyflawni, ac ereill hyd yma yn aros mewn addewidion. Un o'r rhai diweddaf ydyw y testyn. "Yn lle drain y cyfyd ffynidwydd," &c.

Mae yr adnod hon wedi ei chyflawni mewn rhan, ac y mae yn gysur i bawb sydd yn ymdrechu o blaid y gwirionedd, fod pob dydd yn prysuro at ei chwblhad.

I. Y Gwirionedd a Awgrymir yn y Testyn.

Mae y ffigyrau "*drain a mieri*" yn awgrymu fod y byd hwn mewn ystyr foesol, mewn cyflwr annhrefnus a dirywiol; ac y mae yr hyn a awgrymir yma yn cael ei ddweyd yn eglur mewn lluaws mawr o fanau ereill. Mae hanesiaeth, sylwadaeth, ac ysgrythyr yn cyd-dystiolaethu nad ydyw y byd hwn yn ei sefyllfa bresenol yr hyn ydoedd yn y dechreuad, na'r hyn a fwriedir iddo fod cyn y diwedd. Mae pob goror o'r greadigaeth, lle nad yw yr Efengyl wedi cael derbyniad, yn llawn o drigfanau trawsder, a'r bobl yn eistedd mewn tywyllwch a chysgod angeu. Y rheswm a ddyry yr Arglwydd i Seion dros gyfodi a llewyrchu, ydyw fod tywyllwch yn gorchudddio y ddaear, a'r fagddu y bobloedd: ac nid yw y rhai hyn a'u cyffelyb ond ffigyrau gwahanol i osod allan gyflwr gresynol y byd trwy bechod.

(1.) *Fod "drain a mieri" yn tarddu o'r ddaear, ac yn tyfu o honynt eu hunain.* Nid oes neb yn hau "drain a mieri," nac yn trin y tir a'i wrteithio er eu cynnyrchu, ond tyfant o honynt eu hunain mewn daear lonydd. Llawer o ddyfalu sydd wedi, ac yn bod, o ba le a pha fodd y daeth pechod i fodolaeth. Mae pob atebiad a roddwyd hyd yma wedi methu rhoddi boddlonrwydd. Erys y dirgelwch hwn dan leni o dywyllwch, a diau genym ei fod yn un o'r dirgeledigaethau sydd yn eiddo yr Arglwydd. A phe deuid o hyd i'r dirgelwch, ni byddai hyny yn un cymhorth tuag at ei ymlid o'r byd.

Mae bodolaeth pechod yn ffaith y gorfodir pob dyn i'w chydnabod, a'r byd hwn, yn ol dim a wyddis yn amgen, yw y chwareufwrdd ar ba un yr ymddangosodd gyntaf yn ei erchylldra presenol; ac nid pa fodd y daeth i fodolaeth ddylai fod yr ymholiad yn awr, ond pa fodd i gael gwared o hono, a dwyn y byd i'w iawn drefn. Nid oes hanes fod pechu mewn un byd ond hwn; am y nefoedd, fe ddywedir mai lle glân a santaidd ydyw, ac mai cymmeriadau felly sydd i gael derbyniad yno. "Nid â i mewn iddi ddim aflan, nac yn gwneuthur ffieidd-dra, na chelwydd: ond y rhai sydd wedi eu hysgrifenu yn llyfr bywyd yr Oen." (Dat. xxi. 27.) Ymddengys mai nid lle i bechu ydyw uffern chwaith; ond carchar y llywodraeth ddwyfol ydyw, lle y bwrir pob troseddwr i edifarhau a dwyn ei benyd. Nid gweithredydd fel dyn yno, ond dyoddefydd am yr hyn a wnaeth yn y corff; bydd yno wylo a gweddïo heb obaith dyfod i ben byth, ond dim pechu. Y ddaear yw cartrefle pechod, a magwrfa pob gormes ac annghyfiawnder; yma y dechreuodd, ac yma y derfydd yn ei weithrediadau.

(2.) *Yn anharddu y tir.* Nid oes golygfa fwy annymunol mewn natur na gweled ffarm wedi rhedeg yn dir gwyllt, ac yn orchuddiedig gan "ddrain a mieri." Yr aflerwch hwn sydd yn cyfrif i raddau mawr am y ffaith nad yw arwynebedd ein gwlad ni yn cynnyrchu mwy o ddefnydd ymborth i'w thrigolion nag y mae yn bresenol. Ceir rhai tir-feddiannwyr yn dra eiddigus dros iawn-gadwraeth eu hetifeddiaethau, ac yn gwneyd ammod i'r perwyl hwnw â'u tenantiaid. Gwyddom am rai wedi colli eu lleoedd o ddiffyg cadw at y cytundeb.

Mae pechod wedi difwyno gwyneb y ddaear; y byd hwn mewn ystyr foesol yw yr ysmotyn duaf ar etifeddiaeth y Brenin Mawr. Yr oedd mor ddrwg unwaith fel yr ymofidiodd yn ei galon, ac y penderfynodd ddifa'r holl denantiaid oddigerth wyth, a dechreu byd o'r newydd. Mae pechod wedi hagru'r ddynoliaeth fel nad oes dim dymunol yn perthyn iddi. "Gwyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes un yn gwneuthur daioni, nac oes un."

(3.) *Yn gyflym yn eu cynnydd.* Gadawer llonydd i "ddrain a mieri" am ychydig, a bydd y gerddi prydferthaf yn anialwch diffaeth, a'r meusydd ffrwythlonaf yn ddiffaethwch anial. Mae pechod, yn absenoldeb dylanwad gwrthwynebol, yn lledu ei wraidd, ac yn estyn ei geingciau gyda chyflymdra aruthrol dros holl diriogaeth y Jehofa, gan ymagweddu mewn gwahanol wledydd i wahanol ffurfiau. Os edrychwn i'r byd paganaidd, canfyddwn ef yn llawn amrywiaeth o grefyddau gau; neu i'n gwlad ein hunain, yr hon sydd yn cael ei britho gan feddwon, godinebwyr, torwyr y Sabboth, &c. Y mae fod pechod yn ymffurfio i gynnifer o

agweddau yn peri ei fod yn cael ffyniant yn y tir a derbyniad parod gan y werin.

(4.) *Yn ddiwerth.* Maent yn ddiwerth ynddynt eu hunain. Rhai pethau fel arall; mae yr aur, er ei fod y tu allan i gylch defnyddioldeb tra yn y ddaear, yn werthfawr ynddo ei hun, a phan ddeuir o hyd iddo, fe'i defnyddir i ddybenion priodol. "Drain a mieri" yn wahanol; nid oes ffrwyth, perarogledd, na gwerth yn perthyn iddynt, ac ni chesglir hwynt ond i'w bwrw yn tân. Mae holl werth y byd mewn ystyr foesol yn gynnwysedig yn yr ychydig ddaioni sydd ynddo. Pan gauwyd ar Noah a'i deulu yn yr Arch, fe gollodd y byd hwn ei werth yn nghyfrif y nefoedd. Wedi symmudiad Lot i Soar, nid oedd ond defnyddiau tân ar ol ar y gwastadedd. A phe symmudai yr Arglwydd hyny o bobl sydd ganddo i'r nef, ni fyddai y byd hwn amgen nag anialwch gwag erchyll, yn cynnyrchu "drain a mieri." "Oni buasai i Arglwydd y lluoedd adael i ni ychydig iawn o weddill, fel Sodom y buasem, a chyffelyb fuasem i Gomorah." Cedwir y byd heb ei ddifetha er mwyn y duwiolion, a gadewir duwiolion ynddo er mwyn bod yn offerynau i chwyddo eu rhifedi.

(5.) *Yn niweidiol yn eu cyssylltiadau.* Nid yw y meusydd sydd yn dwyn "drain a mieri" yn ateb dyben eu creadigaeth; nid i hyny y bwriadwyd hwynt, ond i gynnyrchu llysiau peraroglus, coedydd ffrwythlon, a bara, yr hwn a gynnal galon dyn. Lle y mae y gau y dylasai fod y gwir, a lle y mae paganiaeth ac eilunaddoliaeth yn ffynu, y dylasai fod Crist a'i groes yn cael eu cofleidio. Maent yn rhwystro cynnydd cyflym egwyddorion yr Efengyl.

Dysgir ni gan yr Athraw Mawr fod yr had a syrthiodd yn mysg y drain yn cael ei dagu ; a dywed ein Cenadon fod cyfeiliornadau y brodorion yn gyffelyb i chwŷn tew wedi ymblethu yn eu meddyliau, nes sychu pob dylanwad allanol ddaw i gyffyrddiad â hwynt. Cyffelyb ydyw yn ein gwlad ein hunain ; mae meddyliau ofer, ymddyddanion diras, a gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch, naill ai yn myned â lle yr had da yn gyfangwbl, neu yn ei dagu a'i wanhau fel na ddygo ffrwyth i fywyd tragywyddol.

II. Y Gwirionedd a Gadarnheir.

Sicrheir yma fod cyfnod dedwydd yn hanes ein byd ni er cynddrwg ydyw yn bresenol. "Yn lle drain y cyfyd ffynidwydd," &c.

(1.) *Fod crefydd yr Arglwydd Iesu i gymmeryd meddiant llwyr o'r byd.* "Yn *lle* drain." Gwir fod ganddi waith mawr i gyfodi'r pantiau a darostwng y bryniau, ond y mae gan ei Hawdwr ddigonedd o amser a chyflawnder o allu i ddwyn hyny oddiamgylch. Mae cyflawniad ei holl addewidion Ef mor sicr â'u rhoddiad, oblegyd nid oes rhwystr na gwrthwynebwr yn y dyfodol nad yw wedi ei rag-weled a pharotoi ar ei gyfer. "Ni lwydda un offeryn a lunir i'th erbyn, a thi a wnei yn euog bob tafod a gyfodo i'th erbyn mewn barn." (Es. liv. 17.) Nid i *gyd*-dyfu â "drain a mieri" ddywedir, ond yn eu *lle ;* cyflëir yma y drychfeddwl o ddiwreiddio, glanhau, bwrw tail, a phlanu. Mae cyfeiliornad a gwirionedd yn cyd-fodoli yn bresenol yn yr un gwledydd, yn yr un cymmydogaethau, ac yn yr un teuluoedd ; ond nid yw efengyl etto wedi gorphen ei gwaith. Mae amryw genedloedd etto heb glywed yr hyfryd lais, a

llawer gwlad nad yw traed y rhai sydd yn efengylu wedi bod ar ei chyffiniau. Bu adeg pan nad oedd dim ond y drwg ynddynt oll,—"tywyll-leoedd y ddaear yn llawn o drigfanau trawsder." Erbyn heddyw, mae ychydig o'r daioni mwyaf yn rhai o honynt; trwyddedwyd y "newyddion da o lawenydd mawr" i ymweled â'r holl genedloedd, ac aflonyddu ar bechod yn mhob lle; ac nid yw yr ychydig ddaioni ysbrydol a ganfyddir yn bresenol, ond prawf fod surdoes yr efengyl yn graddol wneyd ei waith; ac mor wir a bod y surdoes wedi ei osod yn y celwrn blawd cenedlig, fe gyfnewidia yr holl glamp toes i'r unrhyw natur ag ef ei hun. Pan gyflawnir addewid y testyn, bydd pechod yn ei holl agweddau wedi ei ymlid o bob gwlad i'w le ei hun,—bydd pob trais wedi darfod, pob rhyfel wedi peidio, a'r holl genedloedd yn ehedeg at Grist fel colomenod i'w ffenestri, gan adael yr eilunod ar ol, a'r ddaear yn gron wedi ei dwyn dan ddylanwad egwyddorion y Testament Newydd. "Yn lle drain," &c.

(2.) *Hwn yn waith sydd yn gofyn llafur mawr.* Mae creu byd o'r newydd yn fwy o waith na chreu byd o ddim. Yr oedd *gair* Duw yn ddigon y tro cyntaf, ond rhaid i'w allu yn ei Fab, a thrwy ei Ysbryd gael ei amlygu yn yr ail. Chwe' diwrnod y buwyd wrth y gorchwyl cyntaf, ond dyma yn agos i ddwy fil o flynyddoedd wedi myned heibio gyda'r ail, a'r gwaith yn ol pob ymddangosiad heb hanner ei gyflawni; ac ymddengys yn ol arwyddion yr amserau, y cymmer o o leiaf ddwy fil etto cyn y cwblheir ef.

Gwnaeth Duw y greadigaeth gyntaf yn ddigyfrwng, ond y mae a fyno dynion â "chreu y byd o'r newydd yn Nghrist

Iesu i weithredoedd da." Pan yn galw dynion trwy ras, gelwir hwy i fod yn wasanaethgar i achos y Gwaredwr. Gwaith ofer fydd canu

> "Aed efengyl,
> Ar adenydd dwyfol wynt,"

heb iddynt hwy fod â llaw yn ei danfoniad; ac nid gwiw gwedïo "Deled dy deyrnas," heb i'r llaw a'r galon fod yn unol o blaid ei llwyddiant. Os yr efengyl ydyw moddion adferiad y byd, dylid cadw mewn cof mai dynion yw yr offerynau trwy ba rai y bwriada Duw ei dwyn i gyssylltiad â'r rhai sydd yn amddifaid o honi. "Pa fodd gan hyny y galwant ar yr hwn ni chredasant ynddo? A pha fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? A pha fodd y clywant, heb bregethwr? A pha fodd y pregethant, onis danfonir hwynt?"

Yr uchod ydynt rai o brif ddolenau y gadwyn brynedigol, ac y maent oll i'w dilyn yn ol i'r eglwys. Iddi hi yr ymddiriedwyd codi dynion cymhwys i'r weinidogaeth, eu danfon i'r byd, a'u cynnorthwyo yn amcan eu hymweliad â phaganiaid y pegynau, Ei sefydliadau hi ydyw y cymdeithasau Cenadol, Beiblaidd, a Chyfieithiadol er hyrwyddo ei chenadwri dros y ddaear. Gwir fod y gwaith yn bwysig, y maes yn eang, y draul yn fawr, a'r rhwystrau yn aneirif; ond rhwng ffyddlondeb yr eglwys i'w hymddiriedaeth, a bendith Duw ar ei llafur, fe'i cwblheir yn llwyddiannus cyn y daw y diwedd.

(3.) *Gwaith graddol, ond sicr yn ei lwyddiant ydyw.* Nid oes sicrwydd gydag unrhyw anturiaeth ddynol; mae prinder moddion, amser, cefnogaeth, &c., yn rhwystrau

mynych ar ffordd dyn i gyrhaedd ei fwriadau, tra y mae yr oll o honynt at wasanaeth yr Arglwydd. O ran hyny, nid anturio y mae Duw, ond *gweithredu* allan yn ddirwystr ei gynghor a'i ewyllys ben-arglwyddiaethol. Mae y gwlaw a'r eira fel cenadon drosto, yn ateb dyben eu danfoniad,—yn dyfrhau y ddaear, gan wneyd iddi darddu a thyfu, fel y rhoddo had i'r hauwr, a bara i'r bwytäwr. (Adn. 10, 11.) "Felly" (medd Efe,) "y bydd fy ngair, yr hwn a ddaw o'm genau: ni ddychwel ataf yn wâg." Mae y gair i ddychwelyd, ond nid yn wâg. "Eithr efe a wna yr hyn a fynwyf, ac a lwydda yn y *peth* yr anfonais ef o'i blegyd." Bydd i'r efengyl ateb ei dyben gwreiddiol tra fyddo galwad am ei gwasanaeth, fel na bydd eisieu ei throi at unrhyw bwrpas arall. Hi a lwydda yn y *peth* yr anfonwyd hi o'i blegyd, sef dwyn i fewn gyflawnder y cenedloedd, a chasglu i ddyogelwch lafur dyoddefaint y groes o bedwar cŵr y byd.

Un o nodweddion amlycaf Duw yn nghyflawniad ei fwriadau ydyw arafwch. Yn raddol y dygir tymhorau y flwyddyn oddiamgylch; yn raddol ac araf y dygwyd goruchwyliaeth yr efengyl i mewn, ac ymddengys mai yr un modd y bwriada ddwyn y byd o dan ei dylanwad. Iaith bendant er hyny, heb sŵn amheuaeth ynddi, ydyw y testyn. Beth bynag yw maint y rhwystrau, a rhifedi'r gelynion sydd yn ymosod arni, mae fod Duw o'i phlaid yn sicrhau mai ei heiddo hi fydd y fuddugoliaeth yn y man. Mae yr Iawn wedi ei roddi, y pridwerth wedi ei gael, gweinidogaeth yr Ysbryd wedi dechreu, a thrigolion y byd yn prysur ymgrymu i'r hwn a safodd yn fud gerbron Pilat i'w farnu. Mae y cyhoeddiad wedi myned allan, "Fod yn rhaid iddo deyrnasu, hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed."

III. Y CLOD DEILLIEDIG I AWDWR Y GWAITH. "A hyn fydd i'r Arglwydd yn enw ac yn arwydd tragywyddol, yr hwn ni thorir ymaith."

(1.) *Ei neillduolrwydd.* Clod am adfer y byd i'w iawn drefn fydd hwn,—" A *hyn* fydd." Mae holl weithredoedd y Goruchaf mewn creadigaeth a rhagluniaeth, yn adlewyrchu clodydd parhaus iddo ; ni adawodd ei hun yn ddidyst mewn dim a wnaeth. "Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw Ef," &c. : a chyda hyny, mae holl greaduriaid ei lywodraeth yn cyd-dystio yn eu hiaith gynefin eu hunain, mai daionus yw yr Arglwydd a chanmoladwy iawn. Ond er y cwbl, bydd ei enw mewn mwy o fri am achub eneidiau nag am bob peth arall a wnaeth gyda'u gilydd, Yn y drefn hon yr amlygodd yr amynedd mwyaf, y cariad perffeithiaf, a'r drugaredd eangaf. Yn a thrwy yr eglwys y mae cyfoeth gras Duw, a'i fawr amryw ddoethineb, yn cael eu hegluro amlycaf. " Hyn fydd."

(2.) *Ei unigoldeb.* "A hyn fydd i'r Arglwydd." Yr Arglwydd yn unig sydd deilwng o'r clod am gadw dyn. Ei ddrychfeddwl mawr a phenaf Ef ydyw trefn gras yn ei chynlluniad, ei chyflawniad, a'i chymhwysiad ; a chan na fu neb yn rhanol ag Ef yn y gwaith, ni bydd neb ond Efe yn gyfranog o'r gogoniant. Cyfaddefwn, fel y nodwyd yn barod, fod gan y saint lawer i'w wneyd tuag at ddwyn yr efengyl a phechaduriaid i gyssylltiad a'u gilydd ; ond gellir defnyddio geiriau Paul ar fater arall yn y fan hon,— "Yr hwn a'n gweithiodd ni i hyn yma yw Duw, yr hwn hefyd a roddodd i ni ernes yr Ysbryd." (2 Cor. v. 5.)

Nid oedd gan y dysgyblion ddim i'w gyfranu i'r dyrfa newynog yn yr anialwch, oni buasai iddynt dderbyn yn gyntaf gan yr Arglwydd Iesu. Gorchymmynir i'r saint weithio allan eu hiachawdwriaeth eu hunain trwy ofn a dychryn, ond gofelir rhoddi rheswm digonol dros hyny. "Canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da Ef." (Phil. ii. 15,) Mae geiriau Crist wrth y dysgyblion cyntaf yn gymhwysiadol heddyw at bob sant ar y ddaear,—"Derbyniasoch yn rhad, rhoddwch yn rhad." Duw sydd yn rhoddi gyntaf i'r saint, ei Fab Ef fu farw drostynt, ei Ysbryd Ef a'u galwodd o dywyllwch i oleuni, ac sydd yn eu cynnal o hyny allan i wneuthur daioni.

Cânt hwy eu cymmeradwyo ganddo Ef am fod yn "ffyddlon ar ychydig," caiff yntau ei ogoneddu ganddyntac ynddynt hwy am ei drugaredd a'i ras yn eu hiachawdwriaeth. Digon i deulu y gynau gwynion fydd cael eu hunain yn yr un man â Iesu, a meddu sicrwydd eu bod yn dragywyddol debyg iddo. Bydd cofio yr hyn oeddynt, ac o ba le y daethant, yn peri iddynt gyflwyno'r clod a'r mawl, y parch a'r bri tua chyfeiriad yr orsedd wèn fawr, gan ddywedyd, "Iddo Ef, yr hwn a'n carodd ni, ac a'n golchodd oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun; iddo Ef y byddo y gogoniant a'r gallu yn oes oesoedd. Amen."

(3.) *Ei barhad.* "Enw ac arwydd tragywyddol." Bydd y drefn achubol yn adlewyrchu y fath glod i'w Hawdwr na bydd modd i feithder amser na thragywyddoldeb ei leihau. Bydd yr anrhydedd yn gyfatebol i ddylanwad y gwaith a gyflawnwyd. Clod amserol ydyw eiddo dynion, oherwydd mai dros

amser yr effeithia eu dylanwad ar gymdeithas. Bydd enwau Stephenson a Telford mewn bri tra yr erys y ddwy bont sydd yn cyssylltu Môn ac Arfon i hongian ar draws y Fenai. Bydd James Watt yn enw teuluaidd tra pery olwynion yr agerbeiriannau i droi. Ond y mae dydd yn d'od pan dderfydd eu gwasanaeth. Pan fydd angel Duw yn gosod ei fys ar olwynion awrlais y greadigaeth, gan gyhoeddi "na bydd amser mwyach," bydd dyddiau y ddaear wedi eu rhifo, a gwasanaeth pob peth a welir ar ben. A phan bydd y pontydd yn datgymalu, a'r olwynion yn ymddyrysu, bydd enwau a chlodydd eu hawdwyr yn cael eu hannghofio. Ond yn y chwyldroad mawr hwnw, bydd trefn gras yn aros yn ei heffeithiau cadwedigol, a'r eglwys yn *fonument* hardd ger bron llygaid ei phriod yn arddelwi ei ogoniant yn oes oesoedd. "Pan adeilado yr Arglwydd Seion y gwelir Ef yn ei ogoniant." Dichon mai clod amserol a gyflwynir i'r Arglwydd oddiwrth waith y greadigaeth; pan fydd y nefoedd yn myned heibio gyda thwrf, a'r ddaear a'r gwaith fyddo ynddi yn llosgi, dichon y pryd hwnw, y bydd y nefoedd yn gorphen datgan ei ogoniant Ef, a'r ffurfafen yn darfod mynegi gwaith ei ddwylaw Ef, &c. Ond a chaniatau y bydd i holl bregethwyr anian gael gorchymmyn i ddisgyn o'u pwlpudau, a rhoddi heibio am byth y gwaith o fynegi ei glodydd fel Creawdwr: bydd tafodau miliynau sydd heddyw yn eu beddau, wedi eu hadgyweirio gan yr "Adgyfodiad a'r bywyd," a'u gollwng yn rhydd i chwyddo mawl a gogoniant iddo fel Iachawdwr am yr oes ddiddarfod.

Tra bydd sant yn y nef, fe ddiolchir am waredu, a thra deil y gynau gwynion heb heneiddio, fe genir am y golchi a'r cànu yn ngwaed yr Oen.

# PREGETH VIII.

## CYFRYNGAU CADWEDIGAETH YN GYFYNGEDIG I'R BYD HWN.

"Yna *Abraham* a ddywedodd wrtho, Oni wrandawant ar Moses a'r prophwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw."—Luc xvi. 31.

MAE yr Arglwydd Iesu yn y ddammeg hon yn myned allan o'i ffordd arferol a chyffredin o ddysgu ei wrandawyr. Llefarodd lawer ar ddammegion, ond ei arferiad cyffredin oedd defnyddio pethau naturiol ac adnabyddus i osod allan bethau ysbrydol ei deyrnas gyfryngol. Cadwai braidd yn ddieithriad o fewn terfynau y byd a'r bywyd presenol. Ond yn y ddammeg hon, cyfyd gŵr y llen oddiar gyffiniau y byd anweledig, a rhydd ddesgrifiad cyffröus o gyflwr arosol ac annghyfnewidiol ei breswylwyr. Cymmerodd afael yn meddyliau ei wrandawyr, a dygodd hwynt, mewn cymhariaeth, mor agos at nefoedd ac uffern nes eu galluogi i glywed y preswylwyr yn ymddiddan â'u gilydd, &c.

Dysgir yma fod y drwg a'r da ar wahan yn y byd dyfodol. Gwyr pawb eu bod yn gymmysgedig yn y byd hwn. Ceir y ddau, nid yn unig yn yr un wlad, ardal, teulu, &c., ond

deuant mor agos i'w gilydd fel ag i gydgwrdd yn yr un personau. Ceir peth daioni yn y cymmeriadau gwaethaf, a pheth drygioni yn y cymmeriadau ardderchocaf; ond yno ar wahan,—pob drwg wedi ymgasglu i'r un lle, a dim ond y drwg, a'r da yr un modd, &c.

Mae y byd hwn yn fantais i'r cymmeriad drwg yn yr hyn y mae yn anfantais i'r cymmeriad da. Mantais anmhrisiadwy i'r anufudd a'r anedifeiriol ydyw fod hwn yn fyd cyfnewidiol. Mae bod y fath beth â newid cymmeriad, gwaith, cymdeithas, meistr, &c., yn bossibl i rai sydd yn bresenol, yn gwneyd hwn yn fwy rhagorol nâ'r un byd y gwyddom ni am dano. Ond i'r cymmeriad duwiol, y mae nodwedd gyfnewidiol y byd i raddau mawr yn anfantais iddo; hyn sydd yn ei wneyd mor agored i wyro, amheu, a phechu mewn gwahanol ffyrdd. A dweyd y goreu am y byd hwn, y mae yn llawn o wrthgiliadau meddyliol; ond yn y byd dyfodol, bydd pethau wedi cyfnewid i'r gwrthwyneb. Yno ceir yr hyn fydd yn fantais i'r duwiol yn anfantais i'r annuwiol. Beth fydd hyny? Annghyfnewidioldeb y sefyllfa, a thragywyddol barhad y cyflwr y ceir yr enaid ynddo pan yn gadael y byd hwn. Mantais nad ellir ei desgrifio i'r rhai sydd yn ymladd â phechod, ac yn galaru o'i herwydd fydd cael eu hunain mewn cyflwr na fedrant bechu mwy, ac na bydd achos colli deigryn yn oes oesoedd. Ond meddylier am gyflwr truenus yr annuwiol, yn gweddïo heb obaith am atebiad, yn ceisio trugaredd a methu ei chael, yn marw byth ac yn methu marw, &c.

Mae y testyn yn cynnwys atebiad nacâol i weddi a offrymwyd o uffern. Gofyna y goludog ddau gais, y cyntaf oedd danfon Lazarus i drochi pen ei fys mewn dwfr i oeri

dafod,—(adn. 24.)—y tafod fu yn blasu y gwîn a'r moethau yn gofyn am y drugaredd leiaf i leddfu ei boen! Diamheu iddo golli digon o ddagrau i'w ddisychedu ei hun: ond sychai pob deigryn ar ei ruddiau cyn cyrhaedd ei dafod llosgedig. Yr ail gais oedd danfon cenad i'w gartref. (Adn. 27, 28.) Os dygwydd fod perthynasau i rai o honom yn uffern, bydd yn ddrwg iawn ganddynt i ni fyned yno atynt. Pa luosocaf y carcharorion, chwerwaf oll y dyoddefiadau; ond hyfrydwch teulu gwynfydedig y nef ydyw gweled y dyrfa yn chwyddo a lluosogi; prawf o hyn ydyw y llawenydd sydd yn ngwydd angylion Duw am bob pechadur a edifarhao. Bydded ein chwenychiad am y wlad hono ag y bydd yn bleser gan ei phreswylwyr ein croesawi iddi, &c. Sylwn yn

I. FOD MODDION A CHYFRYNGAU CADWEDIGAETH YN GYFYNGEDIG I'R BYD HWN. "Moses a'r prophwydi."

"Y mae ganddynt Moses a'r prophwydi; gwrandawant arnynt hwy." Nid eu personau, ond eu hysgrifeniadau. Hyny o'r ysgrythyrau santaidd ag oedd ar gael y pryd hwnw. Yr oedd "Moses a'r prophwydi," er wedi gadael y byd yn bersonol, yn aros ynddo yn y ddysgeidiaeth a drosglwyddasant trwy gyfarwyddyd ysbrydoliaeth.

Gellir edrych ar "Moses a'r prophwydi" fel y tri moddion, neu y tri chyfrwng sydd ar waith yn bresenol er dwyn oddiamgylch iachawdwriaeth y byd, sef y gair, y pregethwr, a'r Ysbryd Glân. Tybiwn fod y tri hyn yn cael eu cynnwys yn yr ymadrodd, "Moses a'r prophwydi." Gwirionedd Duw, cenadon Duw, Ysbryd Duw; ac y mae maes llafur a dylanwad y tri hyn yn gyfyngedig i'r byd hwn, &c.

(1.) *Y gair.* Mae gair Duw yn anhebgorol i'r bywyd

hwn. Efe sydd yn rhoddi testyn i'r pregethwr, pregeth i'r gwrandawr, a goleuni i'r pererin ysbrydol ar ei ffordd tua'r ddinas gyfanneddol. Mae profiad y Salmydd ar y mater hwn, yn brofiad i'r holl deithwyr tua'r wlad a chwenychir ganddynt: "Llusern yw dy air i'm traed, a llewyrch i'm llwybrau." Nid yw yn ymddangos fod Beibl yn y byd a ddaw, ond hyny a ddygwyd yno yn nghôf y sawl a'i myfyriodd yma; a diau y bydd i aml i sant gael esboniad clir ar lawer adnod a ymddangosai yn dywell iddo yr ochr hon. Ond fel y mae y gair yn rheol, yn gyfarwyddyd, yn *lamp*, &c., perthyn i'r byd hwn yn unig y mae.

Rhydd yr Arglwydd Iesu reswm i'r Iuddewon dros iddynt chwilio yr ysgrythyrau; yn gyntaf, eu bod hwy eu hunain yn meddwl cael bywyd tragywyddol ynddynt; ac yn ail, mai hwynthwy sydd yn tystiolaethu am dano ef. Mae yr ysgrythyrau felly yn cyfateb i holl angenrheidiau dyn yn y bywyd hwn,—yn cynnwys atebion i bob gofyniad, a chyflawnder bendith ar gyfer pob eisieu. Y gair dwyfol ydyw yr unig lyfr sydd yn gwneyd hyn. Gellir dyweyd fel Solomon, nad oes dyben ar wneuthur llyfrau lawer; er fod y wasg yn parhau i arllwys allan ei chynnwysiad i gyfarfod pob math o deimlad a chwaeth, nes y mae y byd hwn bron a bod yn un llyfrgell anferth; etto, gellir dweyd am y Beibl fel y canodd "Peraidd Ganiedydd y Cymry" i'r Person gogoneddus sydd yn ganolbwynt i'w holl ddysgeidiaeth,—

"Ac mae y cwbl sydd o werth
Yn trigo ynddo Ef."

Mae holl gyfrolau y byd yn analluog i roddi atebion boddhaol i'r gofyniadau hyny sydd yn croni yn mynwes dyn nes y deuir o hyd i'r gyfrol Ddwyfol. Pe gofynwn i mi fy hun,

Beth ydwyf? I ba le yr wyf yn myned? Pa beth a fyddaf? A fydd i angeu roddi terfyn bythol ar fy modolaeth? &c. Gofyniadau naturiol ydyw y rhai hyn a'u cyffelyb i'r creadur mawr—dyn; etto, o'r tu allan i'r ysgrythyrau, nid oes ond dystawrwydd mynwentol yn teyrnasu ar bob llaw. Bu athronwyr yr oesau yn ceisio eu hateb; treiddient i'r ystafelloedd tywyll ac anadnabyddus, gan gymmeryd canwyll rheswm yn eu llaw; ond fel y dynesent yn mlaen at lyn cysgod angeu, diffoddai eu goleuni yn y tarth a gyfyd o'r afon; dychwelent yn siomedig heb esboniad iddynt eu hunain na neb arall. Ond yn yr efengyl, gwelir bywyd ac anllygredigaeth wedi eu dwyn i oleuni. Mae y Beibl fel haul mawr y byd moesol, wedi sefyll ar ei hanner dydd uwchben y glyn, ac yn gwasgar ei belydrau claerwyn i'r ddau tu i'r afon. Yn ei oleuni gellir rhodio i'w chanol o'r ochr hon, ac o'i chanol i ganol gwynfyd yr ochr draw. Nid oes un cwestiwn o bwys yn ein holl hanes na cheir yn y Beibl eglurhad arno.

Y gair sydd yn rhoddi syniadaeth gywir am natur a hanfod Duw. Ni fedd yr eilun-addolwr syniad uwch am ei dduw nâ'i fod yn rhywbeth o wneuthuriad celfyddyd. Crwydra y pagan i'r goedwig i chwilio am dduw, a chyfloga seiri a gofaint i roddi ffurf iddo. Darlunia y prophwyd ef yn llosgi un darn o hono i goginio ei ymborth, ac i ymdwymno wrtho, ac yn ymgrymu gerbron y darn arall. (Gwel Es. xliv. 12—20,) Mae amddifadrwydd o'r ysgrythyrau yn peri ei fod yn y tywyllwch am natur a hanfod gwrthddrych priodol addoliad; ond yr ydym ni drwyddynt wedi ein breintio â gwybodaeth am dano, yn nghyd â'n rhwymedigaethau iddo.

Yr ysgrythyrau drachefn sydd yn datguddio trefn y cymmod. Mae arwyddion ynom ein hunain nad yw pethau fel y dylent fod rhyngom â'n Creawdwr; mae cydwybod yn ein cyhuddo o fod yn droseddwyr condemniedig yn y llywodraeth. Ond ni fedr cydwybod ein dysgu pa fodd y mae Duw yn teimlo tuag atom.—a fydd iddo ar ryw ammodau ddileu yr anwiredd, annghofio'r pechod, a dwyn yr euog yn ol i'w ffafr. Gyda hyn, y mae eisieu gwybod pa beth fydd ammodau yr heddwch, oblegyd y mae yn bossibl, o ran dim a wyddom yn amgen, i'r tâl fod yn rhy drwm, a'r aberth fod yn fwy nas gallwn roddi, &c. I'r gofynion pwysig hyn a'u cyffelyb, nid oes llef i'w chlywed yn tori ar y dystawrwydd pruddglwyfus, &c.

Ond i ni sydd a'r gair yn agos atom, yn ein genau ac yn ein calon, y mae yma lais hyglyw ac eglur yn mynegi fod Duw yn gyfiawn ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Duw. Ei gynnwysiad ydyw newyddion da o lawenydd mawr "fod Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd ag Ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." Yr ydym ni oll yn gyfarwydd â'r ammodau, y bydd i bawb a gredant ac a ufuddhant fod yn gadwedig.

(2.) *Y pregethwr.* Dywed Paul fod y pregethwr yn ddolen bwysig yn y gadwyn: "Pa fodd y clywant heb bregethwr?" "Am hyny yr ydym ni yn genadau dros Grist, megys pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni; yr ydym yn erfyn dros Grist, cymmoder chwi â Duw." (2 Cor. v. 20.) Nid oes hanes fod pregethu na phregethwyr yn y sefyllfa ddyfodol; dim ond un fu erioed a fedrodd gario ei swydd gydag ef i fyd arall, a'r hwn sydd yn byw bob amser i ciriol dros droseddwyr ydyw hwnw. Mae

pawb ereill fel Aaron a'i olynwyr yn ymddiosg o'u dillad swyddogol yn angeu. Mae y gwahaniaeth rhwng pregethwyr ac ereill yn darfod pan gyrhaeddir y nef.

(3.) *Yr Ysbryd.* Unig faes gweinidogaeth yr Ysbryd Glân ydyw y byd hwn. Mae yn rhaid i ni wrtho yma, gan na fedr y gair a'r pregethwr ateb dyben eu danfoniad hebddo. Mae gwaith yr Ysbryd yn waith deublyg ; y mae ganddo fyd ac eglwys i ymwneyd â hwy. Ei waith mewn perthynas a'r cyntaf ydyw argyhoeddi. "A phan ddel, Efe a argyhoedda y byd o bechod, ac o gyfiawnder, ac o farn." Ac yn ei berthynas â'r eglwys, dyddanu a thywys i bob gwirionedd ydyw ei orchwyl. "Ond pan ddel Efe, sef Ysbryd y gwirionedd, Efe a'ch tywys i bob gwirionedd. * * * Canys Efe a gymmer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi." Gwelir wrth hyn fod gweithrediadau yr Ysbryd yn gysson a rheolaidd,—argyhoeddi yn gyntaf, dyddanu wedi hyny,—gwneyd cyfaill o elyn, a pheri iddo deimlo yn ddedwydd yn ei berthynas newydd.

Dichon fod miloedd wedi eu cadw ar wahan oddiwrth y gair a'r pregethwr, ond neb erioed ar wahan oddiwrth yr Ysbryd Glân, Tra bydd y cyfryngau hyn ar waith, ni bydd eisieu neb na dim arall ; mae holl amcanion y brynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu i gael eu cyrhaeddyd drwyddynt, &c.

II. Fod gwrthodiad o'r moddion a'r cyfryngau ordeiniedig yn brawf y gwrthodid pob moddion arall a allesid ei gynnyg i'r byd. "Oni wrandawant ar Moses a'r prophwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw."

Y mae y goludog ac Abraham yn barnu yn wahanol ar y mater hwn. Y mae y dyoddefydd yn ymhyfhau, ac â'i dafod llosgedig yn taflu ei atebiad gwrthwynebol ar draws y gagendor i wyneb y tad Abraham: "Nage y tad Abraham; eithr os ä un oddiwrth y meirw atynt, hwy a edifarhant." Ond pa un o'r ddau ddylid gredu? &c.

Mae dynion yn mhob oes yn ymawyddu am bethau newyddion, doniau newyddion, athrawiaethau newyddion, crefyddau a llyfrau newyddion, &c.; ond gwyddai Awdwr y testyn, os na lwyddai yr efengyl ag yr oedd Efe yn ei sefydlu, i ennill dynion i'w garu, ac i edifarhau am bechod, nad oedd yr un gallu arall yn meddu dylanwad i hyny.

Buasai cydsynio â chais y goludog yn tybied rhyw ddiffyg yn nhrefn yr iachawdwriaeth, yn adlewyrchu diystyrwch ar yr Iawn, yn awgrymu fod marwolaeth y groes wedi methu yn ei amcan, a bod efengyl Crist wedi syrthio'n fyr o fod yn allu Duw er iachawdwriaeth. Un ffordd achub sydd, a hyny trwy wrando ar "Moses a'r prophwydi;" y mae fod *rhai* wedi eu cadw yn profi digonolrwydd y drefn i gadw pawb a gredant. Os cafwyd digon o rinwedd yn ngwaed "Iesu Grist ei Fab Ef," i lanhau un enaid oddiwrth ei bechodau, cafwyd digon i olchi tyrfa nas dichon neb ei rhifo. Yr oedd anfeidrol haeddiant y Mab yn angenrheidiol er achub un, ac yr oedd hwnw yn ddigon i'r holl fyd.

Heblaw hyn, mae y byd wedi cael yr hyn a geisia'r goludog yn y ddammeg, ond ni thyciai hyny i'w ddwyn at Dduw. Beth am Lazarus o Bethania, merch Jairus, a mab y wraig weddw o Nain? Gwir ddarfod i rai o'r Iuddewon gredu yn Nghrist mewn canlyniad i adgyfodiad Lazarus, ond gwir

hefyd ddarfod i ereill ymgynghori â'u gilydd fel y lladdent y ddau. (Ioan xii. 10.) A phan ddaeth Crist ei hun o'r bedd y trydydd dydd, fe luniwyd anwireddau er ceisio gwadu'r amgylchiad, a'i guddio o wydd y byd, &c.

Os ydyw cyfnod y gwyrthiau wedi myned heibio, mae "Moses a'r prophwydi" yn aros,—mae Crist a deuddeg apostol yr Oen yn aros,—mae y gair a gweinidogaeth yr Ysbryd yn aros; ac yn ngrym arosiad y cyfryngau hyn, y mae tyrfa fawr o bererinion yr anial wedi cyrhaedd bryniau Caersalem, a miloedd ar eu taith yn dysgwyl yr un fraint ar ddiwedd yr yrfa, &c.

Mae adeg yn ymyl pan ddechreua pawb o honom fedi cefn na welir byth ei ben draw. Credwch yr efengyl. Dechreuwch hau i'r ysbryd fel y byddo eich ffrwyth yn santeiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol.

# PREGETH IX.

## DYNION YR UN DIFFYG.

"A'r Iesu gan edrych arno, a'i hoffodd, ac a ddywedodd wrtho, Un peth sydd ddiffygiol i ti," &c.—Marc x. 21.

DICHON mai y prif wirionedd perthynol i ni oddiwrth yr hanes hwn ydyw, y gwahaniaeth sydd rhwng y dyn moesol, fel ei gelwir, a'r dyn crefyddol. Cwestiwn a ofynir yn fynych gan gymmeriadau deddfol y dyddiau hyn ydyw, "Pa wahaniaeth sydd rhyngddynt?' Golyger fod dyn yn cadw y deg gorchymmyn, ei fod uwchlaw cael ei gyhuddo o unrhyw bechod cyhoeddus, bob amser yn eirwir a gonest, yn talu i bawb yr hyn sydd ddyledus arno, yn ufudd i'r brenin, yn ffyddlon fel dinesydd, yn garedig a chymmwynasgar fel cymmydog, &c. Y cwestiwn ydyw, "Pa beth yn ychwanegol at hyn sydd yn angenrheidiol, neu yn mha beth yr ydych chwi grefyddwyr yn rhagori arnom ni?" Dengys y frawddeg hon o eiddo Crist, "un peth sydd ddiffygiol i ti," yn nghyd ag esiampl ei fywyd, fod rhywbeth mwy nâ hyn yn eisieu,—fod y peth anhebgorol i wneyd dyn yn gymmeriad duwiol yn eisieu yn y dyn moesol. Dyma ni yn yr hanes hwn yn cael patrwm o ddyn moesol, ond dywed Crist fod "un peth yn ol iddo."

Daeth y llywodraethwr ieuanc hwn at y Gwaredwr gyda'r bwriad o gael gwybod y safon gofynol i etifeddu bywyd tragywyddol; nid oes lle i amheu ei ddifrifoldeb; pan wybu fod Iesu yn y gymmydogaeth, aeth ato gyda brys negesydd cydwybodol,—"rhedodd ato." (Adn. 17.) Gellir tybied hefyd ei fod yn meddu parch mawr iddo,—"gostyngodd iddo." (Adn. 17.) Canfyddai yn Iesu rywun mwy a galluocach nag ef,—un fedrai roddi eglurhad iddo ar y mater mwyaf ei bwys,—"bywyd tragywyddol." Cyfeiriai yr Arglwydd Iesu ef at y gorchymmynion,—y gorchymmynion ag yr oedd efe fel Iuddew yn rhwym o fod yn gyfarwydd â hwynt. "Ti a wyddost y gorchymmynion, Na odineba, Na ladd, Na ladrata, Na cham-dystiolaetha, Na chamgolleda, Anrhydedda dy dad a'th fam. (Adn. 19.) "Wel," meddai y dyn ieuanc, "os hyn ydyw safon bywyd tragywyddol, yr wyf ar dir dyogel." "Y rhai hyn i gyd a gedwais o'm hieuenctid." (Adn. 20.)

Y mae fod Crist yn edrych arno gyda boddlonrwydd a hoffder yn brawf fod ei atebiad yn cynnwys gwirionedd. Nis gallwn gymmodi â'r syniad iddo allu gwrandaw arno yn rhagrithio a dweyd celwydd yn ei wyneb, heb ei geryddu yn llym a dangos ei annghymmeradwyaeth o hono. Hawddach genym gredu fod y dyn ieuanc mor agos at y nôd fel ag i ennill serch ac edmygedd yr Athraw Mawr. Er hyny, nid yw i gael myned ymaith dan ei ddwylaw; dengys Crist iddo fod safon crefydd yn uwch ac ardderchocach nag oedd efe etto wedi gyrhaedd. "Un peth sydd ddiffygiol i ti." Mae yn rhagori cymmaint fel na fuasai neb ond Crist yn ddigon craff i weled diffyg ynddo. "Un peth." Yr 'un peth' hwnw oedd dilyn y Ceidwad a chym-

modi â'r aberth gofynol i hyny. Mae y dyn crefyddol yn rhoddi un cam pwysig yn mhellach yn mlaen nâ'r dyn moesol; oblegyd tra mae y naill yn rhoddi y cwbl sydd ganddo i Grist, mae y llall yn rhoddi ei hunan gyda'r cwbl.

Awgrymir yma fod dyfodiad Crist i'r byd yn ychwanegu nifer dyledswyddau dynion tuag at Dduw; mae y grefydd a sefydlodd yn gofyn aberth oddiar law ei phroffeswyr. Pe gallasai y dyn hwn ddweyd am y gorchymmynion, "Y rhai hyn oll a gedwais o'm hieuenctid," cyn dyfodiad Crist, buasai i fyny â'r cwbl a ofynid gan y gyfraith; hyn sydd yn cyfrif am hoffder Crist o hono. Ond gyda'i ddyfodiad Ef i'r byd, dyma groes newydd i'w chario,—dyledswydd newydd i'w chyflawni na chlywsid am dani erioed o'r blaen, "Gwerth yr hyn oll sydd genyt, a dyro i'r tlodion, a chymmer i fyny y groes, a dilyn fi." Bellach, mae peidio cyflawni y ddyledswydd hon yn ddiffyg mor fawr fel y mae holl rinweddau ereill bywyd yn ofer hebddi.

Pa beth bynag a gyflawnir genym o hyn allan, ni bydd ein holl weithredoedd yn ddigon o iawn dros beidio cyfodi'r groes a dilyn Grist. Mae pob gweithred grefyddol o hyn allan i dderbyn ei rhinwedd o'r undeb ffydd a fodola rhwng y gweithredydd a'r "Hwn a osododd Duw yn iawn." Gelwir sylw at

DDYNION YR UN DIFFYG.

Fod lluaws o'r cymmeriadau hyn yn britho ein cynnulleidfaoedd yn Nghymru y dyddiau hyn sydd ffaith adnabyddus, y rhai ar gyfrif eu hymarweddiad diargyhoedd a dramgwyddant wrth frychau crefyddwyr, ac a orphwysant ar eu gweithredoedd personol. Rhan bwysig o swydd

gweinidogion y gair ydyw eu perswadio yn ofn Duw i wneyd y diffyg hwn i fyny cyn iddynt ei gyfarfod mewn barn. Nodwn dri pheth am y cymmeriad hwn.

I. Ei fod yn rhagori ar luaws.

Nid yw ond tegwch i bob dyn gael y clod sydd yn ddyledus iddo, ac y mae y gwahaniaeth sydd rhwng dynion yr *un* diffyg â lluaws ereill yn yr un gymmydogaeth â hwy mor amlwg, fel y byddai yn gam â hwy i fyned heibio iddo yn ddisylw.

Meddylier am y pechod o ladrata. Mae hwn yn ddrwg a waherddir yn llyfr ein crefydd, ac yn gyfryw ag y cyhoeddir gwae uwchben pwy bynag fyddo yn euog o hono. Er hyny, y mae ein gwersyll yn cael ei flino gan yr Achan hwn. Byddai eiddo cymmydogion a gwlad yn ysbail i'w nwyd ladradaidd oni bae ofn cyfraith y tir. Mawr y dyfeisio sydd wedi ac yn bod i ddyogelu meddiannau, yr hyn ni fuasai galwad am dano pe llywodraethid pawb gan yr egwyddor o onestrwydd. I ba beth y dyfeisiwyd y blychau haiarn *(safes)* a'r cloion dirgelaidd a berthynant iddynt? Onid i rwystro lladron? Ai nid oes gan y wraig reswm dros gloi pob isglôs *(drawer)* a chwpbwrdd o bwys yn y tŷ wrth fyned allan? Diau fod.

Gofynir blaendâl am lyfrau, &c., rhag ofn na ddaw ôldal; ceisir tâlysgrif wrth settlo'r bil, rhag ofn y deuir ar ein gofyn eilwaith am yr un swm, yr hyn, amryw droion cyn hyn, sydd wedi cymmeryd lle. Mae yn rhy gynnar ar y dydd i briodoli ein hiawnderau a'n dyogelwch i uniondeb egwyddorion *lluaws mawr* o'n cyd-ddynion, ac hyd nes y dysgont gymmeryd eu llywodraethu gan ddeddfau moesol-

oldeb a chrefydd, ein dyledswydd ydyw diolch am, a chefnogi pob mesur gwladol a sefydlir i'r perwyl hwnw. Ond pe byddai pawb fel y cymmeriad dan ein sylw,—cymmeriad yr un diffyg, ni byddai galwad am y mwyafrif o'r deddfau sydd yn awr mewn grym, byddai meddiannau yn ddyogel heb wasanaeth clo, ceisbwl, carchar, na dim o'r cyfryw.

Meddylier drachefn am feddwdod ein gwlad. Nid oes ond dydd y farn a rydd esboniad cywir ar y galanastra sydd wedi ei achosi trwy gellwair â'r arch-bechod hwn. Mae y meddwyn yn euog o ddinystrio ei iechyd, anmharu ei synwyrau, chwalu ei gyssuron teuluaidd, &c.; ac er cynddrwg y pethau hyn, nid ydynt ond arwynebedd y trueni; mae y drwg yn cyrhaedd yn mhellach a dyfnach i fodolaeth dyn nâ'i iechyd a'i amgylchiadau. Gallasai yn hawddach fforddio bod yr hyn ydyw, oni buasai am yr enaid sydd yn ei feddiant, yr hwn sydd i wynebu Duw, ac oesi tragywyddoldeb.

Llawer gwraig rinweddol a welwyd yn brudd ei gwedd gan ofn gweled ei phriod yn dyfod adref fel bwystfil wedi ei gynhyrfu, ac iddi hithau syrthio yn aberth i'w gynddaredd aflywodraethus. Yr oedd trwst ei gerddediad pan ddynesai at y tŷ fel cleddyf yn brathu ei mynwes.

Nid ydym etto ond braidd yn ymylu ar y llechres ddu sydd yn anurddo ein gwlad. Beth am anlladrwydd, anudoniaeth, cribddeiliaeth, masweddiaeth, &c., sydd mor boblogaidd yn y tir? Er dued ydynt, fe'n gorfodir i gydnabod fod miloedd o'n cyd-ddynion yn ymhyfrydu yn eu cyflawniad. Ond am y cymmeriad un diffygiol, mae yn rhydd oddiwrthynt oll. Ni welwyd ef gynnifer ag unwaith yn halogi ei wisgoedd yn nghyflawniad yr un bryntwaith,

ac ni chlywyd ef yn gyru arswyd trwy galonau ei gymmydogion wrth lefaru ymadroddion llygredig. Mor bell ag y mae ymarweddiad allanol yn myned, y mae yn ddiargyhoedd, ac fel y cyfryw rhaid cydnabod ei ragoriaeth ar filoedd.

II. Ei fod yn druenusach na phawb.

(1.) *Am ei fod wedi dyfod mor agos at y nôd.* Gwir mai dim ond un peth sydd ddiffygiol ynddo, ond hyny sydd yn gwneyd ei gyflwr yn fwy gresynol na neb arall. Paham y mae yn fwy o drueni gweled dyn o wlad efengyl yn myned i fyd arall yn anmharod, na gweled pagan yn myned yno? Onid am fod y goleuni sydd ynddo yn dywyllwch, fod y ffynnon yn ei ymyl, fod sŵn caniadau Seion yn ei glustiau, a chymhell am oes wedi bod arno i gymmeryd gafael yn y bywyd tragywyddol? Mae ambell un yn cyfarfod â damwain sydd yn gadael ei hôl arno tra byddo byw; mae yn y byd a ddaw eneidiau a gloffwyd ac a ddoluriwyd dan weinidogaeth y gair na wellhëir hwynt yn oes oesoedd.

Collodd dyn ei fywyd yn ddiweddar yn yr oerni, o fewn lled un cae i ddrws ei dŷ, a hyny er mawr alar i'w berthynasau, &c. Y dyn fydd wedi rhedeg yn dda, ond sydd yn tori ei galon o fewn cam neu ddau i ben yr yrfa, yw y mwyaf gresynol o'r holl redegwyr, &c. Mae yn fwy alaethus gweled llong yn soddi yn ymyl y tir nag yn un man arall. Fe hwyliodd y "*Royal Charter*" yn llwyddiannus am filoedd o filltiroedd heibio i ynysoedd peryglus, sugndraethau enbyd, a chreigiau bygythiol; ond pan yn ymyl y làn, a rhai o'r teithwyr, meddir, o fewn cyrhaedd galw i'w perthynasau, dacw'r elfenau mewn undeb â'u gilydd yn ei hyrddio i ddannedd y graig, ac i ddyfnder y môr.

Edrych yn y drych hwn ddarllenydd, a dichon y gweli dy hun ynddo. Llawer gwrandawr sydd wedi hwylio ei lestr heibio i greigiau meddwdod, a chlogwyni oferedd, &c.; dim ond un graig sydd rhyngddo a chyrhaedd y porthladd dymunol mewn dyogelwch. "Un peth sydd ddiffygiol i ti."

(2.) *Am fod pob gweithred arall o'i eiddo yn myned yn ofer.* Anhawdd prisio gwerth y dyn hwnw i gymdeithas fydd wedi byw oes uwchlaw cael ei gyhuddo o unrhyw bechod cyhoeddus; ond er dymunoled ydyw, nid yw i fyny â'r hyn a ddysgwylir iddo yn y gair dwyfol. Gwaith dyn yn ufuddhau i Dduw, yn codi'r groes a dilyn Crist, sydd yn rhinweddoli pob gweithred arall o'i eiddo. "Yr hwn sydd heb gredu i'r Mab," beth bynag arall fydd wedi gyflawni, "ni wel fywyd." Ni raid ymdrechu bod yn bencampwyr mewn drygioni mewn trefn i syrthio'n fyr o gymmeradwyaeth Duw; O na, mae annghrediniaeth yn ddigon i hyny. Pa mor lluosog bynag oedd pechodau y genedl yn yr anialwch, annghrediniaeth yn unig a'i rhwystrodd i Ganaan. "Yr ydym ni yn gweled na allent hwy fyned i mewn o herwydd annghrediniaeth." (Heb. iii. 19.) Medr Duw fyned heibio i anwiredd a chamwedd a phechod, ond am annghrediniaeth, mae yn llenwi y ffordd mor gyflawn fel nad oes modd i'r Duw trugarog basio heibio iddo i ragflaenu'r pechadur. Calon ddrwg annghrediniaeth sydd yn diystyru'r meddyg, yn ymado oddiwrth y Duw byw, ac yn bolltio'r nefoedd yn erbyn ei pherchenog. Adeilad heb sail iddo ydyw gweithredoedd da, os na fydd yn gorphwys ar haeddedigaethau iawnol Mab Duw.

(3.) *Am ei fod yn twyllo ei hun.* Hunan-dwyll sydd yn

peri ei fod yn tybied ei hun ar yr un safle a phroffeswyr crefydd, ac yn gofyn mewn hanner bòst yn fynych mewn pa bethau y maent yn rhagori arno ef. Mae pechod yn myned o ddrwg i waeth nes terfynu mewn hunan-dwyll. Cam i'r goriwaered oedd iddo *gymmeryd* ei dwyllo yn y dechreu; cam pellach oedd myned yn wâs i'r un drwg i dwyllo ei gyd-ddyn; ond y cam pellaf ydyw twyllo ei hun. Er fod yr "un peth diffygiol" yn farwol i'r enaid, etto mae yn amlwg fod rhyw dwyll-gynnaliaeth yn perthyn iddo; fel dyn yn y darfodedigaeth yn tybied ei hun yn gwella tra ar yr un pryd yn gwaethygu bob dydd. "Nid pob un ar sydd yn dywedyd wrthyf, Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i mewn i deyrnas nefoedd; ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd." (Mat. vii. 21.) Beth ydyw ewyllys y Tad? "A hyn yw ewyllys yr hwn a'm hanfonodd i; cael o bob un a'r sydd yn gweled y Mab, ac yn *credu* ynddo Ef, fywyd tragywyddol; a mi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf." (Ioan vi. 40.) Undeb ffydd â Mab Duw yn unig sydd yn dwyn rhinwedd bywyd allan o hono, "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol; a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni wel fywyd; eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef." (Ioan v. 36.)

III. Mae yn gymmeriad colledig.

Mae yn bossibl iddo fod i fyny â safon beirniadaeth ei gyd-ddynion, ac yn bwysau yn ei glorian ei hun; nid yw hyny ond peth cyffredin yn hanes y sawl na chawsant oleuni priodol ar eu cyflwr; ond yn nghyfrif Duw, ac yn nghlorian y cyssegr, gall fod mor ysgafn â mân lwch y clorianau. Y cwestiwn cyntaf ddylai pob dyn ofyn iddo

ei hun ydyw, "Beth y mae Duw yn ei farnu am danaf?" Wrth ei farn Ef y byddwn yn sefyll neu syrthio cyn pen hir. Ac heblaw hyny, nid yw y byd yn addas i farnu cymmeriad; dichon erbyn hyn ei fod yn gwella rhyw ychydig, ond ei hen hanes ydyw pardduo'r eira a gwyngalchu'r glô. Felly y gwnaeth â'r Arglwydd Iesu a'i apostolion, ac ardderchog lu y merthyron. Nid oedd gwell barn ganddo am y goreu welodd y ddaear na'i "gyfrif gyda'r troseddwyr." Eu llef oedd, "Bwrw hwn ymaith, a gollwng i ni Barabbas yn rhydd." "A'r Barabbas hwnw oedd leidr." (Luc xxiii. 18; Ioan xviii. 40.) Yr un dynged hefyd fu i'w ganlynwyr ffyddlonaf am oesau lawer ar ol hyny, ond bu cofio ei eiriau, "Os yw y byd yn eich casâu chwi, chwi a wyddoch gasâu o hono fyfi o'ch blaen chwi," yn gymhorth cyfamserol iddynt yn y triniaethau chwerwaf.

Ond dychwelwn at y mater,—un diffyg yn peri fod dyn yn golledig; ïe, dim ond un! Oni wyddost, ddarllenydd, fod colledion dirfawr wedi dygwydd cyn hyn oherwydd un diffyg. Dyna'r llong yn morio'n llwyddiannus yn ei llawn hwyliau tua chyfeiriad rhyw borthladd, a'r holl elfenau yn talu gwarogaeth iddi, ac yn dymuno rhwydd hynt i bawb ar ei bwrdd; ond rhyw ddiwrnod, dacw lawenydd y *crew* yn troi yn dristwch, ac angeu yn ddarllenadwy yn eu gwedd. Pa beth sydd yn bod? O, mae y llestr yn cyflym suddo o herwydd yr *un* hollt (*leakage*) sydd wedi dygwydd yn ei hystlys; dim ond *un!* Mae dadorchuddio un *lamp* dan y ddaear wedi achosi marwolaeth ugeiniau o'n cyfeillion ar yr un foment! *Un* cam camsyniol yn gyru'r teithiwr dros y graig i'r dyfnder obry! *Un* tro gwallus yn y pwyntir (*points*) yn gyru'r gerbydres dros yr arglawdd, a'r teithwyr

i dragywyddoldeb! Dygwyddodd damwain yn ymyl Oxford, yn Rhagfyr, 1874, yn yr hon y lladdwyd 32 ac y clwyfwyd 72; os gofynir pa fodd y dygwyddodd, yr unig ateb yw mai *un* olwyn i un o'r cerbydau dorodd pan yn cyflymu tua'r orsaf!

"Na thwyller chwi, ni watworir Duw." Er cynnifer y rhagoriaethau all fod yn perthyn i dy fywyd cyhoeddus,—er i ti gael dy gyfrif yn gynllun-ddyn mewn ymarweddiad yn y gymmydogaeth lle yr wyt yn preswylio, os heb gredu yn Nghrist, mae yr oll a gyflawnaist yn dy oes yn mhell o fod yn ddigonol seiliau bywyd tragywyddol. Os myned i fyd arall a wnei heb ran yn y Ceidwad, byddi'n rhwym o syrthio'n fyr o gymmeradwyaeth y Barnwr yn y dydd olaf. "Eithr yr hwn nid yw yn credu, a ddamniwyd eisioes, o herwydd na chredodd yn enw unig-anedig Fab Duw." (Ioan iii. 18.)

Ond mae ein gwaith yn cydymffurfio ag ewyllys Duw yn ein dwyn i feddiant o'r wobr deilwng sydd mewn addewid. "A thi a gai drysor yn y nef." Dyma drysor â digon o iawn ynddo am bob ymdrech ac aberth a wneir er ei feddiannu.

Diolchai rhyw frawd unwaith, wrth adrodd ei brofiad yn y gyfeillach grefyddol, fod ei drysor penaf mewn lle nad oedd yn bossibl byth ei golli,—"yn y nef." "Buaswn i," meddai, "wedi ei golli lawer gwaith wrth golli fy nhymherau, ond i ras y byddo y diolch fod y trysor yn nghadw i mi, a minnau yn rhwym i'r trysor." Diweddwn gyda'r cynghor dwyfol: "Eithr trysorwch eich trysorau yn y nef, lle nid oes na gwyfyn na rhwd yn llygru, a lle nis cloddia lladron trwodd ac nis lladratânt." Amen.

# PREGETH X.

## PRYNEDIGAETH TRWY GRIST.

"Crist a'n llwyr-brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith trosom: canys y mae yn ysgrifenedig, Melldigedig *yw* pob un sydd y'nghrôg ar bren."—Gal. iii. 13.

MAE Paul yma yn dychwelyd at yr athrawiaeth ogoneddus a ddysgasai yn flaenorol i'r Galatiaid. Wedi iddo fod yn bresenol yn pregethu ac yn sefydlu Eglwysi gyda chryn raddau o lwyddiant yn Galatia, ymddengys i athrawon gau ddyfod i'w plith o fysg yr Iuddewon er ceisio dadwneyd ei waith, a'u perswadio i ddychwelyd at y ddeddf fel moddion eu cyfiawnhad ger bron Duw.

Ar ol deall hyn, mae yr Apostol, fel dyn yn teimlo ei gyfrifoldeb, ac yn ei awydd angerddol dros les tragywyddol y bobl y bu efe yn llafurio yn eu mysg, yn ysgrifenu y llythyr hwn atynt, i'w hannog i lynu wrth y ffydd ag y darfu iddynt gyda'r fath frwdfrydedd a sel ei chofleidio pan oedd efe yn eu plith; gan brofi nad oedd modd bod yn gadwedig ond trwy ymlyniad parhaus wrth yr athrawiaeth a ddysgasai efe iddynt.

Dengys yma fod y ddeddf yn gofyn gan ddyn yr hyn na fedrai byth ei gyflawni, sef perffaith gydymffurfiad a'i holl

ofynion. "Melldigedig yw pob un nad yw yn aros yn yr *holl* bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt," (adn. 10.) Nid y mwyafrif o honynt a ddywedir, ond yr *holl* bethau. Mae pallu mewn *un* pwnc yn ein gwneyd yn euog o'r cwbl, &c.

Mae ychydig lefain yn lefeinio yr holl does, ychydig wenwyn a ddifetha fywyd, "gwybed meirw a wnant i enaint yr apothecari ddrewi;" ïe, gwybed, er mor fychain, yn difetha'r holl enaint. Felly pechod; mae pechod bychan, os oes y fath beth yn bod, yn ddamniol i'r enaid heb i Dduw ei faddeu.

Pa le y chwiliwn am y dyn sydd wedi aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur hwynt? Rhaid ateb na fu, ac nad ydyw i'w gael. Pe teithiem yn ol o ddolen i ddolen yn nghadwyn fawr y teulu dynol nes cyrhaedd Adda fab Duw, anmhossibl dyfod o hyd i *un* wedi dianc trwy gadw y pethau sydd yn y ddeddf. Y cwestiwn gan hyny ydyw, pa fodd i gyfrif am ein harosiad—na buasai y ddeddf doredig wedi arllwys arnom raiadrau tanllyd ei melldithion, a'n hysgubo ymaith gyda'r llifeiriant dinystriol i wlad y gwaeau? Ateb y gofyniad pwysig hwn ydyw gwaith yr Apostol yn y testyn—"Crist a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf," &c. Daeth Efe i'r maes, a gosododd ei hun yn darian rhyngom a'r saethau.

I. Y Prynwr. "Crist a'n llwyr-brynodd."

Ystyr llythyrenol y prynu yn y fan hon ydyw *ad-brynu*, neu *brynu yn ol* o gyflwr o gaethiwed i gyflwr o fwynhad rhyddid. Gwelwyd ambell i ddyn ieuanc, ar ol blino ar esmwythyd cartref, yn gwerthu ei ryddid wrth werthu ei

hun i'r fyddin. Ac yno y byddai yn rhwym i ddeddf y llywodraeth, nes i rywun, mwy caredig nag y bu ef iddo ei hun, brynu ei ryddid yn ol trwy dalu y swm gofynol am dano. Gwerthodd dyn ei ryddid, a hyny am lawer llai nag y gwerthodd Esau ei enedigaeth-fraint; ond Crist yn unig oedd yn alluog i'w brynu i fwynhad o ryddid a bywyd tragywyddol.

Gwir fod gan ddyn luaws mawr o *nurses* i weini arno,—mae ganddo gyfeillion yn gymmwynaswyr, dysgawdwyr yn athrawon, gweinidogion y gair yn gynghorwyr, angylion yn ysbrydion gwasanaethgar iddo, &c.; ond yn mhlith yr oll, nid oes un yn meddu cymhwysder i fod yn brynwr iddo hyd nes y deuwn at wrthddrych y testyn,—"Crist a'n llwyrbrynodd."

(1.) *Fod Crist yn adnabyddus o'r pleidiau.* Mae lle i ofni fod llawer diniwed wedi cael cam dirfawr cyn hyn, oblegyd dyeithrwch y dadleuydd i fanylion yr ymrafael; a llawer euog wedi ei ollwng yn rhydd o herwydd yr un diffyg. Nid bob amser y llwyddir i gael person cyfarwydd yn yr holl ymdrafodaeth, &c.

Nid oedd modd i'r Arglwydd Iesu fethu mewn dim a gymmerodd mewn llaw. Gwyddai am y ddeddf yn holl fanylrwydd ei gofynion; Efe ydoedd ei hawdwr, ac yn ei galon y mae ei heisteddle. Ac am ddyn drachefn, nid oes rhaid iddo wrth gymhorth neb i'w hysbysu yn ei gylch; Efe ydyw ei greawdwr a'i luniwr, ac nid oes air ar ei dafod, na dychymmyg yn ei galon, nad ydyw Efe yn hysbys o hono. Mae holl fanylion yr ymrafael yn hysbys iddo, oblegyd yr oedd yn un o'r pleidiau. Yr oedd llygad ei holl-

wybodaeth yn dilyn y saeth wenwynig oddiar fwa'r temtiwr i galon y ddynoliaeth, ac yn canfod gwg yn ymgasglu ar ael y ddeddf mewn canlyniad.

(2.) *Fod Crist yn meddu cydymdeimlad â'r pleidiau.* Ennill, iawn neu beidio, ydyw prif ymgais llawer dadleuwr, ond Crist yn hollol i'r gwrthwyneb; yr oedd ei natur Ef yn gydgyfarfyddiad i'r pleidiau, ac ynddo a thrwyddo Ef y gwnaed y cymmod. Ar un llaw, yr oedd y ddeddf yn ei galon; ac ar y llaw arall, yr oedd ei hyfrydwch gyda meibion dynion. Os oedd calon tad ynddo i gydymdeimlo â'r troseddwr, yr oedd hawliau brenin ganddo hefyd i edrych fod y ddeddf yn cael ei hanrhydeddu. Fe gododd dyn i'r lan heb dynu'r ddeddf i lawr; rhwymodd archollion y briwedig heb ddryllio rhwymau y ddeddf; rhoddodd wên ar wyneb yr euog heb achosi gwg ar wyneb y ddeddf, &c.

(3.) *Fod Crist yn alluog i foddloni'r pleidiau.* Mae yn bossibl adnabod y pleidiau, a meddu cydymdeimlad â hwy, tra ar yr un pryd yn amddifad o allu i gyfarfod â gofynion y naill a'r llall. Yr oedd yr Arglwydd Iesu yn gyfartal ynddynt oll; yr oedd ei adnabyddiaeth yn eang a manwl, ei gydymdeimlad yn drwyadl a gwirioneddol, a'i allu i gyfarfod y gofynion yn gymmaint â'r ddau. Nid oedd modd gwneyd ymaith â'r ddeddf, na diddymu ei gofynion ar yr hwn oedd yn ei gafael, heb i rywun a'i boddlonai sefyll yn ei le. Yn Nghrist fe gafwyd un a'i boddlonodd,—un "santaidd, diddrwg, dihalog," &c. Efe, yn ngwiwdeb anfeidrol ei berson, yn yr ymgyflwyniad gwirfoddol i farw a effeithiodd ein gwaredigaeth. Mae pob cymhwysder a fedd y nef a'r ddaear yn cydgwrdd yn y "dyn Crist Iesu" i'w wneyd yn Gyfryngwr addas rhwng Duw a dynion. Er

mawredd y pellder oedd rhyngddynt, fe'i llanwodd â'i haeddiant ei hun.

II. Pris y Prynedigion. "Gan ei wneuthur ei hun yn felldith drosom."

"Nid â phethau llygredig, megys arian neu aur y'ch prynwyd. * * * Eithr â gwerthfawr waed Crist." Carem fod yn gynnil iawn wrth siarad am anallu yr Hollalluog. Mae dwyn yr Anfeidrol Fôd o fewn cylch terfynoldeb gydag unrhyw fater yn hawlio'r pwyll a'r gwyleidd-dra mwyaf. Ond gallem feddwl nad oedd lle i ddewisiad fodoli mewn perthynas i'r gwerth a roddid am ryddhad dynoliaeth oddiwrth felldith y ddeddf,—nad oedd ond *un* pris i'w gael yn yr holl amherodraeth yn meddu ar werthfawredd digonol i gyfarfod gofynion y llywodraeth am ryddhad y pechadur. Er fod gan Dduw feibion lawer yn barod i gyflawni negeseuau drosto, yn thronau, tywysogaethau, angylion, &c., etto, os oedd dynoliaeth i gael ei phrynu oddiwrth felldith y ddeddf, tybiwn nad oedd ganddo ddewisiad gyda golwg ar y *pwy* i'w anfon i'r byd yn "nghyflawnder yr amser."

Yr oedd yn rhaid i'r nefoedd fod am dymhor heb y Priodfab, neu, ynte, fod am byth yn gauedig i feibion dynion. Ond gan i'r Tad roddi y Mab, ac i'r Mab roddi ei hun, cafwyd llwyr brynedigaeth i bawb a ymddiriedant ynddo; ac am haelfrydedd y Tad yn rhoddi yr uniganedig, caiff feibion lawer i ogoniant yn ad-daliad, a delw ei anwyl Fab arnynt oll.

Yr oedd marwolaeth yr Arglwydd Iesu yn gyfuniad o gyfiawnder Duw a'i faddeugarwch—o'i gyfiawnder yn ei waith

yn hawlio taliad llawn i holl ofynion y ddeddf droseddedig, ac o'i faddeugarwch yn ei waith yn rhoddi ei Fab i fod yn iawn dros bechodau dynolryw er effeithio y taliad hwnw. Yma y gwelir Ef yn "gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu." "Mae y ddeddf o dan ei choron, cyfiawnder yn dyweyd digon, a diolch byth, medd Seion, am yr iawn," &c.

"*Llwyr-brynu.*" Mae y prynu yn cynnwys yr oll o'r dyn, ac yn cyrhaedd o waelod bedd hyd ddeheulaw Duw. Mae y corff yn gystal a'r enaid yn y cytundeb, ac ni orphenir y *contract* nes i bawb ar sydd yn y beddau glywed ei leferydd Ef. Mae y dydd i roddi y tabernacl hwn heibio heb fod yn mhell iawn; dichon y bydd y tywydd yn dymhestlog, a'r *passage* yn arw iawn y diwrnod hwnw; ond erbyn gwawriad boreu ail briodas y prynedigion, bydd y gauaf wedi myned heibio i roddi lle i'r gwanwyn tragywyddol. Bydd y tymhor yn ddigon hafaidd i'r gwaredigion fod,—

"Oll yn ei gynau gwynion,
Ac ar ei newydd wedd,
Yn debyg i'w eu Harglwydd
Yn d'od i'r lan o'r bedd."

Hwn fydd boreu Sabboth mynwentydd y ddaear, ar ol yr wythnos hir o dderbyn cenedlaethau y byd hwn i'w mynwes. Mae y ddaear yn ocheneidio hyd y pryd hwn, a phan ddaw yr adeg, bydd yn diolch am y waredigaeth o roddi fyny y dyrfa anferth ar alwad y Prynwr byw, &c.

III. Ammod Derbyniad y Brynedigaeth.

Ffydd yn Nghrist ydyw yr ammod, a hyn yw prif fater yr Epistol trwyddo. Dengys yr adnod nesaf fod y gwahaniaeth rhwng Iuddewon a Chenedloedd wedi ei golli—fod y brynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu wedi eu huno, "Fel y

delai bendith Abraham ar y Cenhedloedd," &c. Er bod yn feddianol ar fendith Abraham, rhaid meddu ffydd Abraham. Nid gweithredoedd Abraham, ond ei ffydd a gyfrifwyd iddo yn gyfiawnder. Trwy ffydd yr ufuddhaodd pan ei galwyd; trwy ffydd yr ymdeithiodd efe yn nhir yr addewid; trwy ffydd yr offrymodd ei uniganedig fab Isaac, pan ei profwyd, &c. (Gwel Heb. xi.)

Dwy ffordd cadwedigaeth fu yn agored erioed,—ffordd gweithredoedd a ffordd ffydd. Ammodau y gyntaf oedd, "gwna hyn a byw fyddi," ond cauwyd hono cyn i neb ei theithio, ac oddiar hyny hyd yn awr y mae clawdd anufudd-dod yn rhwystr i ddedwyddwch ar lwybr gweithredoedd. Ond nid cynt y cauwyd hono gan ddyn, nag yr agorwyd ffordd newydd gan Dduw; a bellach, ffordd y groes ydyw ffordd y bywyd; llwybr ffydd ydyw tramwyfa cadwedigaeth. Dyma ffordd Abel, Enoch, Noah, Abraham; dyma ffordd y patriarchiaid a'r proffwydi; dyma ffordd yr apostolion a'r merthyron; mewn gair, dyma ffordd yr holl ddaear i deyrnas nefoedd. Anfeidrol ras agorodd y ffordd hon; mor hawdd y gallasai Duw atal ei drugaredd oddiwrthym, a chaniatau i'r ddeddf doredig arllwys ei melldithion arnom. I sicrhau hyny, nid oedd eisieu iddo ond peidio a gweithredu. Ond o'i fawr drugaredd, fe'n cofiodd yn ein hisel radd; cyfryngodd yn ein hachos yn agoriad y ffordd newydd a bywiol, yr hon a gyssegrodd Efe i ni trwy y llen, sef cnawd ei anwyl Fab. "Crist mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol." Gwnaethpwyd Ef yn bechod trosom ni, fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo Ef.

Anwyl bobl, na ddiystyrwch eich cymhwynaswr goreu, ond credwch ynddo fel y byddoch gadwedig trwyddo.

# PREGETH XI.

## AWDWR A DEILIAID CADWEDIGOL YR IACHAWDWRIAETH.

"Ac wedi ei berffeithio, Efe a wnaethpwyd yn Awdwr Iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo."—Heb. v. 9.

GAIR a gyfarfyddir yn fynych yn yr Ysgrythyrau ydyw "Iachawdwriaeth," a golyga bob amser naill ai y waredigaeth ei hun, neu ynte achosydd y waredigaeth. Yn yr ystyr blaenaf dosperthir hi i ddau fath, sef gwaredigaeth dymhorol a gwaredigaeth ysbrydol, gwaredigaeth corff a gwaredigaeth enaid. Ar lan y Môr Coch ceir ei gweled yn yr ystyr blaenaf a nodwyd, "A Moses a ddywedodd wrth y bobl, nac ofnwch; sefwch, ac edrychwch ar *Iachawdwriaeth* yr Arglwydd, yr hwn a wna Efe i chwi heddyw; oblegyd yr Aifftiaid, y rhai a welsoch chwi heddyw, ni chewch eu gweled byth ond hyny." (Exod xiv. 13.) Ond gwaredigaeth ysbrydol olygir wrtho fynychaf. Un amcan i'r gwaredigaethau tymhorol oedd cynnyrchu ffydd yn, ac arwain meddwl y gwaredigion at yr Iachawdwriaeth dragywyddol y bwriadai Duw ei dwyn oddiamgylch trwy farwolaeth iawnol ei Fab, a'u cael i ymddiried ynddo fel y cyfryw. Wedi hysbysu y cynghor yn Jerusalem mai trwy enw Iesu Grist o Nazareth yr iachesid y dyn clâf a safai ger eu bron, cyfeiria yr apostol eu meddwl at Iach-

awdwriaeth yn ei hystyr helaethaf, gan gymmeryd i fewn, yn ddiau, anhwylderau naturiol ac ysbrydol yn y geiriau.—"Ac nid oes Iachawdwriaeth yn neb arall; canys nid oes enw arall dan y nef, wedi ei roddi yn mhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig." (Act iv. 12.) Rhoddir yr enw hefyd yn drawsenwol i Grist, ac i'r efengyl fel goruchwyliaeth Duw i effeithio adferiad y byd. Yr Arglwydd Iesu olygir wrtho yn ngeiriau Simeon yn y deml. Yr oedd Simeon yn dysgwyl am ddiddanwch yr Israel; ac wedi ei gael, wele ef a'r nefoedd yn ei galon, cân yn ei enau, a Iachawdwr y byd yn ei freichiau, yn dywedyd, "Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd, yn ol dy air; canys fy llygaid a welsant dy Iachawdwriaeth." Gwyn fyd y dyn sydd yn gweled Iachawdwriaeth cyn gweled angeu.

Yr efengyl olygir wrth yr ymadrodd yn y geiriau,—"Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn Iachawdwriaeth gymmaint?" Felly yn y testyn dan sylw hefyd, golyga foddion ordeiniedig Duw trwy ei Fab i wrthweithio dylanwad niweidiol pechod. Dyma'r drefn ogoneddus nad oedd Paul, a miloedd ar ei ol, yn cywilyddio ei harddel, ei phregethu, a'i chymhell ar eu gwrandawyr fel unig foddion eu cadwedigaeth. "Gallu Duw yw hi er Iachawdwriaeth i bob un a'r sydd yn credu." Gelwir ein sylw yma at Iachawdwriaeth yr efengyl yn ei pherthynas a'i Hawdwr, a'i deiliaid cadwedigol.

I. Edrychwn arni yn ei pherthynas a'i Hawdwr.

Yn ei gymmeriad Archoffeiriadol y traethir am Grist yn yr adnod hon, fel un a neillduwyd gan Dduw i'w osod dros ddynion yn y pethau sydd tuag at Dduw.

(1.) *Ei appwyntiad i'r swydd.* "Efe a wnaethpwyd," &c. Nid oedd hawl gan neb i ymgymmeryd â'r swydd bwysig hon oddieithr fod Duw mewn modd neillduol a chyhoeddus yn ei ddewis iddi. "Ac nid yw neb yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw, megys Aaron." (Adn. 4.) Cafodd Aaron a'i feibion eu galw a'u neillduo i'r swydd hon gan yr Arglwydd ei Hun. (Gwel Exod. xxviii.) Cawsant eu gwisgo, eu heneinio, a'u cyssegru i'r swydd yn ngwydd holl gynnulleidfa meibion Israel, yn ol gorchymmyn yr Arglwydd. Gwnaed yr oll yn gyhoeddus er dangos i'r dyrfa fawr nad oedd hawl gan neb arall i ymyraeth â hi. (Gwel Lef. viii.) Cawn enghreifftiau yn y gair dwyfol o farn yr Arglwydd yn disgyn mewn modd disymmwth ar bersonau o herwydd iddynt ymyraeth â'r swydd hon, a grwgnach yn erbyn y swyddogion, Hyn oedd trosedd mawr Corah, Dathan, ac Abiram, yn nghyd a'r dau cant a'r deg a deugain hyny yn yr anialwch. "Ymgasglasant yn erbyn Moses, ac yn erbyn Aaron, ac a ddywedasant wrthynt, 'Gormod i chwi hyn; canys y mae yr holl gynnulleidfa yn santaidd, bob un o honynt, ac y mae yr Arglwydd yn eu mysg; paham yr ymgodwch goruwch cynnulleidfa yr Arglwydd?'" (Num. xvi.) Bu farw o'r bobl a duchanasant yn erbyn Moses ac Aaron, bedair mil ar ddeg a saith cant, heblaw y rhai a fuont feirw yn achos Corah, a phrofwyd i'r gweddill, trwy flodeuad gwialen Aaron yn mhabell y dystiolaeth, mai efe a'i feibion oeddynt ddewisedigion yr Arglwydd i'r swydd.

O herwydd ymyraeth â gwaith yr offeiriaid y cafodd Uzziah, brenin Judah, ei daro â gwahanglwyf anfeddyginiaethol yn ei dalcen, fel y gorfu iddo roddi i fyny ei swydd,

ac ymneillduo o blith dynion dros y gweddill o'i oes. (Gwel 2 Chron. xxvi.) Dengys yr ennghreifftiau hyn fod y fath gyssegredigrwydd yn perthyn i'r swydd, fel yr oedd Duw trwy arwyddion gweledig yn datgan ei anfoddlonrwydd ar bwy bynnag fuasai yn ymyraeth a hi, nad oedd wedi ei ddewis ganddo Ef ei hun iddi. "Felly Crist hefyd," medd yr apostol, "nis gogoneddodd ei hun i fod yn Archoffeiriad ; ond yr hwn a ddywedodd wrtho," &c. (Adn. 5.) Nid ymwthio i'r swydd o hono ei hun heb gydsyniad ei Dad ddarfu iddo. Yr oedd cytundeb a dealltwriaeth rhyngddynt ar y mater cyn bod y byd ; y cytundeb hwn a gyhoeddid gan y proffwydi, ac a bortrëadid yn yr aberthau. Ymddangosodd ereill o'i flaen ac ar ei ol, gan honi pethau mawrion, a phriodoli iddynt eu hunain weithredoedd dwyfol ; ond buan y gwelwyd eu rhyfyg, y collasant eu dylanwad, ac y buont feirw mewn gwarth. Mewn cyfeiriad at y dosparth hwn y dywedodd hen athraw Paul yn y llys, "Os o ddynion y mae y cynghor hwn, neu y weithred hon, fe a ddiddymir ;" hyny ydyw, bydd eich ymosodiad yn ddiangenrhaid ; daw i'r dim o hono ei hun ; mae pob adeilad dynol o grefydd a'i sail yn y tywod, ac felly yn rhwym o syrthio. Ond, "Os o Dduw y mae, bydd eich ymosodiad yn gwbl ofer ; mae y seiliau yn ddyogel, a'r llwyddiant yn sicr, er gwaethaf pob mesur o'r eiddoch chwi i ddarostwng y bobl hyn. Ni ellwch chwi ei ddiddymu."

Ei alw gan Dduw gafodd Crist i'r swydd hon ; dywedodd wrtho, "Tydi yw fy Mab, myfi heddyw a'th genedlais di," Yr oedd arddeliad y nefoedd a boddlonrwydd ei Dad ar ei holl weithredoedd.

Gallodd Mab Duw wneyd yr hen greadigaeth heb fyned

trwy unrhyw gyfnewidiad ei hun; dywedodd "Bydded" wrth y bydoedd heb syflyd o'i safle; ond cyn gwneyd y greadigaeth newydd, yr oedd gwaith gwneyd arno ei hun. Rhaid ei wneuthur o wraig a than y ddeddf cyn y gallasai brynu y rhai oedd dani,—"ei gael mewn dull fel dyn, a bod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes." "A wnaethpwyd."

(2.) *Ei gymhwysiad i'r swydd.* "Ac wedi ei berffeithio." Dywedir yn pen. ii. 10, i "Dywysog Iachawdwriaeth gael ei berffeithio trwy ddyoddefiadau." Nid yn yr ystyr o buro a glanhau y defnyddir y gair 'perffeithio' yn y cyssylltiadau hyn. Nid oedd Efe yn berffeithiach yn yr ystyr hwn yn dyfod o honynt nag ydoedd yn myned iddynt.

Mae dyoddefiadau yn hanes dynion yn foddion puredigaeth moesol iddynt. Hyn oedd profiad y Salmydd,—"Cyn fy nghystuddio, yr oeddwn yn cyfeiliorni; ond yn awr cedwais dy air di." Ond am yr Arglwydd Iesu, yr oedd yn santaidd yn dyfod i'r byd. "Y peth santaidd a aner o honot ti, a elwir yn Fab Duw." Yr oedd yn awr mor lân yn myned i ffwrnes y dyoddefiadau ag oedd yn dyfod allan o honi. Oni buasai ei fod Ef yn ddifai i Dduw pan offrymodd ei hun, ni fuasai modd gwneyd cymmeriadau fel ni yn ddifeius ger ei fron Ef mewn gogoniant. Felly, nid dyoddefiadau oedd yn perffeithio Mab Duw, ond *yn* y dyoddefiadau y perffeithiodd ei hun i gymmeryd meddiant o'r swydd Arch-offeiriadol yn y nef.

Os dilynir y drefn Iuddewig, rhaid edrych arno mewn tri golygiad;—fel aberth, fel offeiriad yn gweithredu arno ei hun, ac fel Arch-offeiriad yn ymddangos yn y santaidd santeiddiolaf yn rhinwedd ei aberth i wneyd cymmod dros

ei bobl. Pan adawodd Iesu dŷ ei Dad i gael ei wneuthur o wraig a than y ddeddf, yr oedd megys yn cau drws y nef ar ei ol, fel na fedrai ei agor mwyach ond yn rhinwedd ei waed ei hun.

Nid oedd lladd yr aberth a thywallt gwaed yr anifail yn ddigon i effeithio cymmod dros y genedl, ac ni allesid effeithio cymmod heb waed. Felly, yr oedd gwaith yr *Offeiriad* yn aberthu y tu allan i'r cyssegr, yn addasu, ac yn cymhwyso yr *Arch*-offeiriad i ymddangos yn ngwydd y presenoldeb dwyfol â gwaed i effeithio cymmod drosti. Felly Crist, Efe oedd yr aberth a aberthwyd, ac Efe oedd yr Offeiriad a offrymodd ei hun dros bechodau ; ac yn ei waith yn cyflawni y swydd offeiriadol arno ei hun, y cymhwysodd ei hun,—yr ennillodd hawl iddo ei hun ; neu yn ol y testyn, y perffeithiodd ei hun i ymddangos yn ei gymmeriad Arch-offeiriadol yn ngwydd ei Dad i effeithio cymmod " i'r rhai oll a ufuddhant iddo."

Nid oedd y peiriant cadwedigol wedi ei orphen yn y marw a'r adgyfodi, er eu bod yn anhebgorol i'w orpheniad. Ond i sicrhau tragywyddol ryddhad, trwy effeithio tramwyfa i drugaredd rhwng nefoedd a daear, bu rhaid i waed y Mab Mawr agor cloion y cyssegr fry ; ac nid cynt y dangosodd ei waed yn y nef, ac y gorseddodd ei hun ar ddeheulaw y mawredd yn y goruwchleoedd, nag y danfonwyd yr Ysbryd Glân i roddi prawf ar y peiriant ; ac ar ddydd agoriad y rheilffordd newydd, profodd yn llwyddiannus i gychwyn tair mil o eneidiau ar unwaith i gyfeiriad gogoniant.

(3.) *Natur a pharhad ei waith yn y swydd.* " Efe a wnaethpwyd yn Awdwr *Iachawdwriaeth dragywyddol.*"

O ran ei natur, ysbrydol ydyw; iachawdwriaeth i enaid yn benaf ydyw, er fod y corff hefyd yn y fargen. "A hyn yw ewyllys y Tad a'm hanfonodd i; o'r cwbl a roddes efe i mi, na chollwn ddim o hono, eithr bod i mi ei adgyfodi ef yn y dydd diweddaf." (Ioan vii. 39.) Mae y corff a'r enaid yn cael eu *bookio* ar yr un dydd, a hyny i'r un lle. Gyda'r eithriad o'r rhai a adewir hyd ddyfodiad personol yr Arglwydd, bydd yr enaid wedi cyrhaedd pen y daith cyn i'r corff gael ei gludo gan gyfeillion i "dŷ ei hir gartref;" ond pa hyd bynag y bydd yno, "mae yr awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb a'r sydd yn y beddau glywed ei leferydd Ef, a hwy a ddeuant allan."

Mae y drefn o ran ei pharhad yn dragywyddol, gan gael i ni dragywyddol ryddhad." Mae y rhyddhad felly yn hŵy nâ'r caethiwed pan y mae yr olaf yn y man hŵyaf. Tymhor hŵyaf y caethiwed ydyw hyd angeu, ond y rhyddhad oddiyno yn mlaen yn ddiddiwedd,—"tragywyddol ryddhad." Rhyddhau dros y flwyddyn derfynol oedd yr hen drefn, ond yn y drefn newydd, mae y pechodau fu, sydd, ac a ddaw yn cael eu maddeu,—"tragywyddol ryddhad." Adgoffa pechod bob blwyddyn yr oedd yr aberthau gynt, ond rhyddhau oddiwrth bechod mae aberth Crist. Rhyw edliw beiau yr oedd oen y pasg, ond pan edrychir ar "Oen Duw," gwelir Ef yn tynu "ymaith bechodau y byd;" 'ymaith' o'r enaid, 'ymaith' o'r corff, 'ymaith' o'r gydwybod, 'ymaith' o'r aelodau, 'ymaith' o lyfr Duw, ac 'ymaith' o dy hanes dithau gredadyn am byth.

II. Yr Iachawdwriaeth yn ei pherthynas a'i deiliaid cadwedigol. "I'r rhai oll a ufuddhant iddo."

(1.) *Y gyfatebiaeth sydd rhwng yr Awdwr a'r deiliaid.* Y modd y daeth Crist yn Awdwr Iachawdwriaeth oedd trwy ufudd-dod, a dysgodd ufudd-dod trwy ddyoddefiadau. Gwaith newydd perthynol iddo yn ei swydd gyfryngol oedd ufuddhau. Yn ei sefyllfa gydraddol â'r Tad, derbyn ufudd-dod y byddai, a hyny gan fodau urddasolaf y greadigaeth. Ond yn ei gyflwr darostyngol, daeth, "nid i'w wasanaethu ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer." Dysgodd ufudd-dod; yr oedd ei holl fywyd yn cael ei nodweddu gan ufudd-dod perffaith i'w Dad. "Da genyf wneuthur dy ewyllys, O Dduw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Ei waith oedd defnydd ei gynnaliaeth. "Fy mwyd a'm diod ydyw gwneuthur ewyllys fy Nhad," &c.; ond yn benaf, ei ufudd-dod yn ei angeu a olygir,—yn ei ingoedd a'i loesion pan oedd pangfeydd marwolaeth yn trywanu ei enaid, ac yntau yn suddedig dan y tònau a'r llifeiriant yn rhedeg drosto. Y dyoddefiadau eithriadol hyny a'i gosododd am byth ar ei ben ei hun, yn y rhai y gallodd ddweyd, "Sethrais y gwin-wryf fy hunan, ac o'r bobl nid oedd un gyda mi." Ond er mor fawr y poenau, er garwed y driniaeth, er llymed y loesion pan y dolefodd, "Trist iawn yw fy enaid hyd angeu," "Bu yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes."

Anfynych y gwelir dyoddefiadau ac ufudd-dod yn cyd-gyfarfod yn yr un person; troseddwyr fel rheol sydd yn arfer dyoddef. Bydd rhywbeth o'i le yn nghyfansoddiad y deddfau os na byddant yn amddiffyn hawliau a llonyddwch y diniwed. Ond ar y groes, canfyddir y fath ufudd-dod na allasai y nef ofyn ychwaneg, a'r fath ddyoddefiadau na allasai uffern roddi eu llymach yn cyd-gyfarfod yn yr un

person. Dyma un a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd,—a deimlodd yr anhawsderau sydd yn nglŷn ag ufudd-dod,—a brofodd trwy lefain cryf a dagrau yn yr ardd ac ar y groes beth yw y rhwystrau sydd raid myned drwyddynt mewn trefn i roddi ufudd-dod i gyfiawnder dwyfol. Ufuddhaodd er dyoddef, a dyoddefodd wrth ufuddhau.

Nid yw ei ganlynwyr chwaith yn ddyeithr i'r dyoddefiadau sydd yn nglŷn ag ufuddhau; gwyddant wrth gychwyn allan mai edifeirwch ac ufudd-dod ydynt delerau cadwedigaeth,—mai trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid myned i mewn i'r bywyd; ac mai ffyddlondeb hyd angeu, ïe, angeu yn ei wedd fwyaf dychrynol, os bydd galwad, ydyw un o brif ammodau y coroni.

Wrth ufuddhau, gwelir y dyn mawr hunanol yn cael ei *reducio* yn ddyn bach hunanymwadol,—yn colli ei *drust* ynddo ei hun, gan lefain, "a'm cair ynddo Ef heb fy nghyfiawnder fy hun." Wrth ufuddhau, bydd y galon yn cael ei braenaru, a blodau ffydd yn tarddu allan o ddaear fyddo wedi cael ei mwydo gan ddagrau edifeirwch.

Mae cryn golledion hefyd yn nglŷn ag ufuddhau. Pa le mae yr hen gwmpeini annuwiol y buwyd yn difyru gyda hwy yn y dafarn,—yr hen bleserau gwageddus,—y rhegfeydd a'r llwon,—y pechodau luaws oedd mor anwyl genym â'r fraich a'r llygad de, &c.? Maent wedi eu bwrw ymaith. Os ydyw y colledion yn fawr, na ddigaloned plentyn Duw, mae yr ennillion yn llawer mwy. Mae Paul yn adrodd y golled a'r ennill wrth y Philippiaid,—"Wedi enwaedu arnaf yr wythfed dydd, o genedl Israel, o lwyth Benjamin, yn

Hebrëwr o'r Hebreaid," &c. Ond wrth eu cymharu â'r hyn oedd yn ei feddiant ar y pryd, dywedai, "Eithr y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist. Ie, yn ddiamheu, yr wyf hefyd yn cyfrif pob peth yn golled o herwydd arddercho wgrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd; er mwyn yr hwn y'm colledwyd yn mhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom, fel yr ennillwyf Grist." (Phil. iii. 7, 8.)

Dro arall, tystiai yr Ysbryd Glân iddo fod rhwymau a blinderau yn ei aros yn mhob dinas a thref yr elai iddynt; ond y fath oedd gafael diymollwng crefydd ac yntau yn eu gilydd, fel y dywedodd, "Nid wyf yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr genyf fy einioes fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa trwy lawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniais gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu efengyl gras Duw." (Act. xx. 24.)

Ni chollodd neb ei fywyd naturiol er mwyn crefydd nad oedd ganddi hi fywyd gwell ac un parhaus i'w roddi yn ei le. "Eithr duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd." (1 Tim. iv. 8.)

(2.) *Bob amser pan nad yw yr Arglwydd yn symmud y rhwystrau fyddo ar ffordd dyn i gyflawni dyledswyddau crefyddol, rhydd gymhorth i weithio trwyddynt a'u gorchfygu.* Nid yw o gymmaint pwys i'r Cristion pa un o'r ddwy ffordd y gweithreda; mae cael cymhorth i orchfygu rhwystrau yn ateb yr un dyben â'u symmud o'r ffordd. Fel hyn y gweithredodd Duw yn ei berthynas â'i anwyl Fab; pan oedd cyfyngdra a thristwch enaid yn ei feddiannu yn yr

ardd, "Efe a syrthiodd ar ei wyneb, gan weddïo, a dywedyd, Fy Nhad, os yw bossibl, aed y cwpan hwn heibio oddiwrthyf; etto nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti." (Mat. xxvi. 39.) Ond yn hytrach na symmud y cwpan oddiwrtho, cafodd nerth oddifry i'w yfed i'r gwaelod; gwrandawyd Ef yn yr hyn a ofnodd. "Angel o'r nef a ymddangosodd iddo, yn ei nerthu Ef;" ac er boddlonrwydd i'r nef, a llawenydd yr holl ddaear, gorphenodd ei waith yn brydlon a gogoneddus. Fel na byddai i Paul ymddyrchafu yn ormodol yn ei feddwl ei hun "gan odidowgrwydd y dadguddiedigaethau, rhoddwyd swmbwl yn ei gnawd,—cenad satan i'w gernodio." "Am y peth hwn," meddai, "mi atolygais i'r Arglwydd deirgwaith, ar fod iddo *ymadael* â mi." Ond dengys yr hanes mai nid fel y gweddïodd yr atebwyd ef; ond os na waredwyd ef rhag y swmbwl a'r cenad, cafodd beth arall a atebodd y dyben yn llawn cystal. "Digon i ti fy ngras i; canys fy nerth i a berffeithir mewn gwendid." (2 Cor. xii. 7—9.)

Os yw y groes yn drom, gredadyn, na ddigalona, cei nerth i'w chario; os bydd i ti ei chario hyd yr afon, bydd iddi hithau dy gario di drosti i'r ochr draw. Os yw y rhiwiau yn serth, nac ymollwng, daw nerth i'w dringo. Os yw dyddiau galar yn ymddangos yn hir, na lwfrha, "yn ol dy ddydd y bydd dy nerth;" bydd y frwydr drosodd yn y man, a phob gelyn wedi ei gongcro. "Heblaw hyn, fy mrodyr, ymnerthwch yn yr Arglwydd, ac yn nghadernid ei allu Ef." (Eph. vi. 10.)

# PREGETH XII.

## Y DDAU ELW—Y GWAHANIAETH RHYNGDDYNT.

"Canys i ychydig y mae ymarfer corfforol yn fuddiol: eithr duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd y sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd."—1 Tim. iv. 8.

PAN gymhellir unrhyw ddyledswydd ar ddyn, nid yw ond eithaf priodol iddo ddysgwyl rheswm gan y cymhellydd dros gydymffurfiad â'r anogaeth. Nid teg ydyw dysgwyl cydymffurfiad ag unrhyw gais heb gael boddlonrwydd i'r meddwl fod yr hyn a gymhellir yn teilyngu ufudd-dod. Ond unwaith y canfyddir fod y cymhelliad yn un priodol a rhesymol, ac yn gyfryw ag y teimla'r dyn yn argyhoeddedig fod lles a bendith yn deilliaw iddo ei hun ac i gymdeithas trwy gydymffurfio â'r hyn a gymhellir arno, ei ddyledswydd yn gystal a'i fraint yw ymostwng yn ddiymaros, &c. Nid oes llyfr mewn bod mor gyflawn yn y ddau beth hyn ag ydyw y Beibl. Pa mor lluosog bynnag ydyw ei rybuddion i ymwrthod â phechod, mae ei resymau dros wneyd mor lluosog â hyny; a pha nifer bynnag ydyw ei gymhellion i arfer bywyd rhinweddol a chrefyddol, mae ei resymau dros gydymffurfiad yn gyfartal, &c.

Mae y testyn a'i gyssylltiadau yn enghraifft amlwg o'r hyn yw y gwirionedd dwyfol drwyddo ar y mater hwn. Gwaith yr apostol yn yr adnod flaenorol ydyw cymhell

dyledswydd ar Timothëus, "Eithr gâd heibio halogedig a gwrachïaidd chwedlau, ac ymarfer dy hun i dduwioldeb." Gwelir fod y ddyledswydd a gymhellir yn cymmeryd i fewn y ddau beth a nodwyd, sef ymwrthodiad a phechod ac ymarferiad o dduwioldeb. Amlwg ydyw fod yn rhaid i ddyn wneyd rhywbeth; os na wna dda, bydd yn rhwym o wneyd drwg. Nid peiriant ydyw y gellir ei yru neu ei atal; nid oes aros a bod yn llonydd yn ei hanes; "Y neb nid yw gyda mi, sydd yn fy erbyn; a'r neb nid yw yn casglu gyda mi, sydd yn gwasgaru." (Mat. vii. 30.) Mae yr hwn nad yw dros y Ceidwad, o angenrheidrwydd yn ei erbyn, a phan yn ei gyfeirio at ddaioni wrth wahardd iddo wneuthur drwg, mae y gwirionedd yn ei gyfarfod yn ei anallu i fod yn llonydd.

Dygir y testyn yn mlaen fel rheswm dros y ddyledswydd a gymhellir ar y gweinidog ieuanc yn yr adnod flaenorol yn ei dwy wedd. Dwy wedd yr anogaeth ydyw y waharddiadol a'r gymhellol; y rheswm dros y gyntaf yw, mai ychydig ydyw y buddioldeb o'i hymarfer, a'r rheswm dros yr ail, sef "ymarfer i dduwioldeb," ydyw yr elw mawr sydd yn gyssylltiedig â hi. "Yn fuddiol i bob peth,' &c.

Gelwir sylw at y ddau ymarferiad, a'r ddau elw. Gwelir fod yr apostol yn nodi dau fath o lafur—ymarfer corfforol, ac ymarfer i dduwioldeb, ac ar gyfer y ddau lafur, noda ddau elw. Nid gwadu fod elw yn nglŷn ag "ymarfer corfforol" y mae yr awdwr, ond dweyd mai *ychydig* ydyw o'i gymharu â'r elw mawr, sylweddol a pharhaol sydd yn nglŷn ag Iachawdwriaeth.

### I. Yr elw deilliedig oddiwrth ymarferiad corfforol.

*Yr Ymarferiad.* Pa beth a olygir wrth "ymarferiad

corfforol ?" Tybiwn mai pwys gormodol yn cael ei gyssylltu â chyflawniadau allanol i ddybenion crefyddol ydyw, pa un bynnag ai ymataliol ynte ymarferol fyddo. Ymddengys fod Paul yn rhagweled oddiwrth arwyddion yr amserau ei bod yn ymylu ar amseroedd enbyd mewn cyssylltiad a chrefydd pan yn ysgrifenu at Timothëus. Cyfnod pan oedd athrawon Gnosticaidd, ac ysbrydion cyfeiliornus ar ymlusgo i'r Eglwysi, y rhai a ddysgent mai y ffordd effeithiolaf i farw-eiddio pechod yn yr enaid, a chyrhaedd perffeithrwydd, oedd ymneillduo oddiwrth y byd, ac ymwrthod i raddau helaeth a phethau allanol, "Yn dywedyd celwydd mewn rhagrith, a'u cydwybod eu hunain wedi ei serio â haiarn poeth; yn gwahardd priodi, ac yn erchu ymatal oddiwrth fwydydd," &c. (Adn. 2, 3.) Ymddengys hefyd fod Paul yn canfod rhyw arwyddion fod Timothëus yn tueddu at fabwysiadu eu dysgeidiaeth, a'i fod yn gogwyddo yn ormodol at hunan-ddysgyblaeth allanol,—ei fod yn cospi ei gorff trwy arwain bywyd meudwyaidd, ac yn amddifadu ei hun o'r lluniaeth angenrheidiol tuag at gynnaliaeth ei natur. Gan fod Timothëus o natur mor hynaws, o deimladau mor dyner, ac o dueddiadau mor grefyddol, buasai yn hawdd iawn dylan-wadu arno i wneyd unrhyw aberth er byw yn fwy duwiol. Dysga ei athraw ef na fuasai ei waith yn cospi ei hun i raddau gormodol yn unrhyw ychwanegiad at ysbrydolrwydd ei grefydd, "oblegyd y mae pob peth a grëodd Duw yn dda, ac nid oes dim i'w wrthod, os cymmerir trwy dalu diolch." (Adn. 4.) Wrth droseddu deddfau iechyd, yr ydys yn tros-eddu deddfau crefydd yr un pryd, ac y mae mwy nag un ffordd i wneyd hyny. Ceir rhai yn euog o hyn trwy gym-meryd gormod o'r hyn a fwriadwyd yn lles iddynt trwy gym-

medroldeb,—yn bwyta hyd lythineb, ac yn yfed hyd feddwdod, &c. Dichon mai i'r dosparth hwn y perthyn y nifer luosocaf. Ond ceir llawer yn gogwyddo yn ormodol i'r eithafion cyferbyniol,—yn cymmeryd llai na digon o angenrheidiau bywyd. Dyma lwybr anocheladwy ariangarwch, cybydd-dod, &c.; dyma lwybr swyddogion y Babaeth yn ei mynachod, ei meudwyod, a'i phererindodau mynych, &c. Gan nad oes ond ychydig fudd crefyddol yn deilliaw oddiwrth bethau o'r natur yma, gwaherddir i Timothëus fyned i eithafion gormodol. Dichon mai y gogwyddiad gormodol hwn achlysurodd y cynghor canlynol:—"Nac ŷf ddwfr yn hwy; eithr ymarfer ychydig win er mwyn dy gylla a'th fynych wendid." (Pen. v. 23.) Un o'r cymhwysderau nacâol a ofynir mewn esgob ydyw peidio a bod yn "wingar," (gwel Pen. iii. 3.) ac yn y bennod nesaf cynghorir y gwan i arfer ychydig o hono er mwyn ei "fynych wendid." Onid yw hyn yn tybied fod llwyr-ymataliaeth, lle y byddo galwad am ychydig er mwyn adgyfnerthiad corfforol, yn gymmaint trosedd ar ddeddfau iechyd a chrefydd ag ydyw gor-hoffder o hono i borthi nwydau llygredig a niweidio y cyfansoddiad?

*Yr Elw.* Gellir edrych ar y gair "ychydig" mewn dwy olygwedd, sef ychydig o ran *graddau*, ac ychydig o ran *amser* (*dros ychydig*, ymyl-ddalen.) A chymmeryd y ddau syniad, golygant fod pob ymdrech o eiddo dyn gyda golwg ar allanolion bywyd yn gyfyngedig i gorff ac amser. Y mae hyd y nod anhebgorion y bywyd presenol yn terfynu yn y ddau beth hyn, megys llafurio, ymborthi, gorphwys, cysgu, &c. Pan roddir y tabernacl hwn heibio yn angeu, bydd yr anhebgorion hyn wedi darfod a'u gwasanaeth.

Gwelir oddiwrth hyn fod y ddau beth pwysicaf yn hanes dyn heb gymmaint a chael eu cyffwrdd gan ymarferion y bywyd presenol,—enaid, a thragywyddoldeb! Mae yr enaid yn aros yn ddiymgeledd, a'r byd tragywyddol yn agoshau heb ddim parotoad ar ei gyfer. O! fy enaid, pa fodd yr ymdarewi yn y dyfodol diddiwedd a digyfnewid ag y mae dy wyneb arno? Na ddigalona, y mae duwioldeb, yr hon sydd "fuddiol i bob peth," yn gyrhaeddadwy yr awr hon. Arweinia hyn at y sylw nesaf.

## II. Yr elw deilliedig oddiwrth wir grefydd.

Arferir y gair "duwioldeb" weithiau i osod allan ran o ddyledswyddau cyffredinol crefydd. "Eithr tydi, gwr Duw, gochel y pethau hyn; a dilyn gyfiawnder, duwioldeb, ffydd, cariad, amynedd, addfwynder." "A hyn yma hefyd, gan roddi cwbl-ddiwydrwydd, chwanegwch at eich ffydd, rhinwedd; ac at rinwedd, wybodaeth; ac at wybodaeth, gymmedrolder; ac at gymmedrolder, amynedd; ac at amynedd, dduwioldeb." &c. (1 Tim. vii. 2; 2 Pedr i. 6.) Golyga yma, yr ymarferiad o grefydd yn ei holl ranau; nid dolen o'r gadwyn sydd yma, ond y gadwyn yn y cyfanrwydd o honi, &c.

Mae y "bywyd sydd yr awr hon, a'r hwn a fydd" yn cynnwys pob peth bodolaeth dyn. Mae yr oll a ellir ei ddweyd am dano yn gynnwysedig mewn dwy ran a dau gyfnod. Y ddwy ran ydynt, ei gorff a'i enaid; y ddau gyfnod ydynt, amser a thragywyddoldeb; ac nid oes dim a berthyn i'r naill na'r llall, nad ydyw gwir grefydd yn ychwanegu yn ddirfawr at eu hystyr a'u gwerth "yn fuddiol i bob peth." A gadael y dyfodol o'r neilldu, gofynwn,

Pa gymmeriad ydyw y tebycaf o feddu cyssuron y bywyd hwn? Onid y cymmeriad duwiol? Nid yw y digrefydd yn gymhwys i farnu rhagoroldeb y bywyd crefyddol, am ei fod yn amddifad o hono. "Eithr dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o ysbryd Duw; canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegyd yn ysbrydol y bernir hwynt. Ond yr hwn sydd ysbrydol sydd yn barnu pob peth; eithr efe nis bernir gan neb." (1 Cor. ii. 14, 15.) Mae Dafydd tua diwedd ei oes yn mynegu ei brofiad ar y mater hwn. "Mi a fum ieuanc, ac yr ydwyf yn hen." "Sicr i ti weled llawer o bethau rhyfedd yn dy oes—rhai yn ymgodi fel dy hun i anrhydedd, ac ereill yn disgyn i warth a dinodedd." "Do, gwelais fwy nas gallaf adrodd; ond y mae un peth *na* welais. Ni welais y cyfiawn wedi ei adu, na'i had yn cardota bara." (Pslm. xxxvii 2—5.) Mae crefydd yn llywodraethu holl symmudiadau y cyfiawn; yn ei ddysgu i arfer cymmedrolder yn mhob peth, ac i iawn ddefnyddo trugareddau rhagluniaeth.

Pa gymmeriad sydd yn achosi lleiaf o boen, a lleiaf o gostau i gymdeithas? Atebiad ystadegaeth yw, mai y cymmeriad crefyddol.

I ba nifer o'r lluaws mawr a ymwelant â'n drysau i gardota bara y gellir rhoddi cwpanaid o ddwfr yn enw dysgybl? Ofnwn mai i ychydig iawn. Pa beth ydyw hanes y mwyafrif sydd yn llenwi tlotdai, elusendai, a charchardai ein gwlad? Ymholer, a cheir allan mai afradlonedd, anniweirdeb, diofalwch, a dyeithriwch i bob dylanwad crefyddol ydyw eu hanes. Anfynych iawn y mae llwybr dyledswydd yn arwain i'r cyfeiriadau yna. "Ei ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau hi ydynt

heddwch." A phan ddygwydd i ffordd dyledswydd arwain trwy gyfyngder a thlodi, yr hyn sydd yn bossibl dan rai amgylchiadau, mae duwioldeb yn dysgu tawelwch a boddlonrwydd i'w pherchenog; cynnorthwya ef i godi ei olygon at Dduw, a dywedyd, "Dy ewyllys di a wneler."

"Elw mawr yw duwioldeb gyda boddlonrwydd." Yn fuddiol i bob peth,—i bob oed,—i bob gradd a sefyllfa,—i bob amgylchiad,—i fyw ac i farw. Ac nid y bywyd hwn yn unig sydd yn ei gafael, ond ceidw feddiant o'r hwn a ddaw hefyd. Ni bydd eisieu ei newid wrth newid byd; yn ei goleuni hi y gwel yr edifeiriol ei gymhwysder a'i hawl i ogoniant, cwyd ef uwchlaw ofn marw, perffeithia ei gariad at Grist, a rhydd iddo hyder ddydd y farn. Mae cwmpeini rhai o reilffyrdd ein gwlad yn darparu yr hyn a elwir yn *through carriage* ar gyfer y sawl fyddo yn teithio bellder mawr o ffordd. Os gofala'r teithiwr fyned i hono yn Nghaergybi, (dyweder) ni bydd eisieu dyfod o honi nes cyrhaedd y brif ddinas, &c. Mae holl blant dynion yn deithwyr i wlad bell,—tragywyddoldeb; dechreuant eu taith i fyd arall pan ddechreuant anadlu yn y byd hwn, ac nid ydynt yn aros nes cyrhaedd yno. Ond y mae Duw yn yr efengyl wedi darparu *through carriage* ar eu cyfer, yr hon, unwaith yr eir iddi, ni fydd eisieu ei newid rhwng hyny a phen y daith. Ond ceir miloedd, o herwydd myned i'r cerbyd anmhriodol, yn dymuno ei newid yn ngorsaf angeu. Teithiodd Balaam yn hir yn ngherbyd anughyfiawnder; ond yn yr orsaf lle y ffarwelia y ddau gymmeriad am byth â'u gilydd, cododd awydd angerddol ynddo am ei newid. "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn, a bydded fy niwedd fel yr eiddo yntau," &c.

Paham y gofynir gwasanaeth y gweinidog ac ereill wrth wely angeu y dyn annuwiol? Onid ofni cael ei hun mewn byd arall yn y cerbyd *wrong* y mae? Bydd yn ddigon caredig i ti dy hun ddarllenydd i ofalu mewn pryd; mae croesaw i ti heddyw i *fookio* tua'r bywyd. Llef Duw yn yr efengyl ydyw, "Trowch eich hwynebau ataf fi holl gyrau y ddaear fel y'ch achuber." Gwrando arno, ddarllenydd, a bydd fyw.

# PREGETH XIII.

## GWEDDI PAUL AR RAN EGLWYS EPHESUS.

"O herwydd hyn yr wyf yn plygu fy nghliniau at Dad ein Harglwydd Iesu Grist, o'r hwn yr enwir yr holl deulu yn y nefoedd ac ar y ddaear, ar roddi o hono ef i chwi, yn ol cyfoeth ei ogoniant, fod wedi ymgadarnhau mewn nerth, trwy ei Ysbryd ef, yn y dyn oddimewn; ar fod Crist yn trigo trwy ffydd yn eich calonnau chwi; fel y galloch, wedi eich gwreiddio a'ch seilio mewn cariad, amgyffred gyd â'r holl saint, beth yw y lled, a'r hyd, a'r dyfnder, a'r uchder; a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth, fel y'ch cyflawner â holl gyflawnder Duw."—Eph. iii. 14—19.

DAW Paul i'r golwg yn y bennod hon mewn tri cymmeriad crefyddol—carcharor, gweinidog, gweddiwr.

Daw i'r golwg fel carcharor yn nechreu y bennod, "Er mwyn hyn myfi Paul, carcharor Iesu Grist trosoch chwi y cenhedloedd." (Adn. 1.) Mae hanes crefydd a chrefyddwyr yn y byd hwn yn hanes dyoddef llawer. Bywyd o ddyoddef oedd bywyd ei Hawdwr, a hyn ydyw hanes y mwyafrif o'i phleidwyr mewn rhyw ddull neu gilydd hyd y dydd heddyw. Costiodd gwrthwynebu pechod a dweyd y gwir, ei ben i Ioan Fedyddiwr; ac y mae yr un peth wedi costio triniaeth gyffelyb i filoedd ar ei ol. Dyma gyhoeddwr rhyddid yn gauedig mewn carchar. Daw i'r golwg fel gweinidog yn adnod 8, "I mi y llai na'r lleiaf o'r

holl saint, y rhoddwyd y gras hwn, i Efengylu yn mysg y Cenhedloedd anchwiliadwy olud Crist." Ac fel gweddïwr yn y testyn. Ni fu neb a chyfnewidiad mwy amlwg yn ei fywyd na Paul. Dyma'r erlidiwr yn garcharor, y chwythwr bygythion yn bregethwr, a'r cablwr yn weddïwr.

Y mae a fyno bywyd dyn yn ei ddrwg a'i dda â Iesu Grist. Pan oedd Paul yn erlid, erlid Crist yr oedd; felly y cyfarchai ef ar y ffordd, "Paham yr wyt yn fy erlid I?" Er fod Crist yn bersonol uwchlaw cael ei erlid, y mae y fath undeb agos ac anwyl yn bodoli rhyngddo a'i ganlynwyr, fel pan fydd y naill yn derbyn cam y bydd y llall yn cael ei ddolurio. Mae yn bod felly o bob tu. Pa Gristion all wrando ar ei Waredwr yn cael ei gablu heb deimlo o'r herwydd, a dangos ei annghymmeradwyaeth? Dolur i Dduw ydyw niweidio ei bobl, "Canys a gyffyrddo â chwi, sydd yn cyffwrdd â chanwyll ei lygad Ef." (Zech. ii. 8.) "Yn gymmaint a'i wneuthur o honoch i un o'r rhai hyn fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch." (Math. xxv. 40.)

Geilw Paul ei hun yn "garcharor Iesu Grist," am mai Iesu Grist a'i Achos oedd achos ei garchariad. Yr oedd yn weinidog Iesu Grist am mai Efe a'i galwodd i'w swydd. "Canys y mae hwn yn llestr etholedig i mi, i ddwyn fy enw ger bron y Cenhedloedd, a breninoedd, a phlant Israel." (Act. ix. 15.) A gweddïai Dduw trwy Iesu Grist am mai Efe ydyw cyfrwng dynesiad plant dynion at y Tad.

PAUL FEL GWEDDIWR GAIFF EIN SYLW PRESENOL.

Gellir dweyd am Paul ei fod yn ddyn mawr gyda Duw a dynion,—yn fawr gyda dynion fel pregethwr, ac yn fawr gyda Duw fel gweddïwr. Yr oedd yn fawr gyda dynion *am*

ei fod felly gyda Duw. Anmhossibl fod mîn ar y bregeth heb iddi gael ei thymheru â gweddi. Bydd sail gyfiawn am dyfiant yr had, os wedi ei feddalhau â dagrau y weddi ddirgel.

Fel gweddïwr y daw Paul i'r golwg gyntaf yn ei gymmeriad newydd. "Nac ofna fyned ato Ananias, mae y llew wedi ei draws newid yn oen; "canys wele y mae yn gweddïo." Cymhwysder a pharotoad bendigedig i'r weinidogaeth Efengylaidd. Yr oedd yn weddïwr pwrpasol iawn, heb ddim yn gwmpasog nac yn amgylchiadol ynddo. Onid oes lle i ofni fod ein gweddïau yn hynod o ddineges yn fynych, —ein bod yn gofyn gormod o bethau yn yr un weddi, i ddysgwyl yn iawn am ddim. Mae gan Paul yma neges bennodol i'w gofyn, a phwynt neillduol i'w ennill. Y mae hefyd fel pe byddai yn ymgolli yn ei bwnc. "A gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth." Pwy ond dyn wedi ymsuddo i ysbryd ei fater allasai fathu iaith fel hon?

Mae yn arfer gostyngeiddrwydd mawr hefyd. "Yn plygu fy ngliniau." Mae gan y corff ei waith yn gystal â'r enaid yn y gwasanaeth crefyddol. Mae yr enaid yn ei gyflwr presenol yn analluog i roddi mynegiad i'w deimladau ond trwy gyfrwng aelodau y corff. Aelodau y corff sydd yn cerdded i dŷ Dduw, yn cyfranu at ei achos, yn canfod ei weithredoedd, yn gwrando ei leferydd, yn siarad ei ymadroddion, &c.

Mae plygu gliniau wrth weddïo yn ffasiwn Feiblaidd, ac yn gyfryw a arferid gan yr hen dduwiolion. "Deuwch," medd y Salmydd, "addolwn ac ymgrymwn; gostyngwn ar ein gliniau ger bron yr Arglwydd ein gwneuthurwr."

"Tair gwaith yn y dydd y gostyngai Daniel ar ei liniau, ac y gweddïai, ac y cyffesai o flaen ei Dduw, megys y gwnai efe cyn hyny." Aeth y Gwaredwr ar ei liniau yn yr ardd; Stephan dan y gawod gerryg; Pedr wrth gyfodi Dorcas o feirw; ac wele Paul yma. Mae yn arwydd obeithiol am y dyn hwnw a dynir at draed Duw gan galon lawn o barchedig ofn tuag ato. Mae myned i fyny yn hanes hwnw pwy bynag ydyw. Ger bron Duw y plygai Paul ei liniau,—neb arall yn deilwng o hyn, &c.

I. Y bendithion a ddymunai yr Apostol i'r Ephesiaid.

(1.) *Nerth ysbrydol yn y dyn mewnol.* "Ar roddi o hono Ef i chwi fod wedi ymgadarnhau mewn nerth yn y dyn oddimewn." Mae gan bob dyn ei ddyn oddimewn ag eisieu ei ymgeleddu. Esgeulusir hwn gan filoedd a ofalant yn ormodol am y dyn oddiallan. Gor-bryder yn nghylch hyn barodd i Grist gynghori ei ddysgyblion, gan ddywedyd, "Am hyny na ofelwch, gan ddywedyd, beth a fwytawn, neu, beth a yfwn, neu, a pha beth yr ymddilladwn." Bydd gofal priodol am yr enaid yn sicrwydd na byddis yn ddibris o angenrheidiau y corff. Mae gan grefydd ei gwersi mewn perthynas i'r ddau, &c.

Perthyna i bob dyn dri math o nerth,—corfforol, deallol, ac ysbrydol. Yr olaf o'r rhai hyn sydd yn perthyn i'r dyn oddimewn, a thros hwn y gweddïa yr apostol yma. Nid yw y tri gallu hyn o angenrheidrwydd yn cydgyfarfod i'r un graddau yn yr un personau. Bydd corff cryf a chadarn yn fynych lle na bydd ond meddwl eiddil a gwan, a meddwl cawraidd bryd arall yn preswylio mewn corff nychlyd. Ac y mae yn bossibl i'r ddau fod yn wan neu yn gryf yn annibynol ar nerth y dyn oddimewn, &c.

Gall corff nerthol a deall cryf brofi yn fwy o niwed nag o les i'w berchenog, heb i'r dyn oddimewn fod wedi ymgadarnhau mewn nerth. Nerth yn y dyn oddimewn yn unig a'n galluoga i reoleiddio ein galluoedd ereill, ac a'n rhwystra i'w camarfer. Yr oedd Samson yn enwog iawn am ei nerth corfforol, ond ei ddiwedd, fu iddo ladd ei hun ag ef. Yr oedd Solomon yn ddi-ail am ei allu meddyliol, ond defnyddiodd lawer o hono i wneyd cam â'i hun, a phechu yn erbyn Duw. Mae dynion o gyrff a chynneddfau cryfion wedi profi yn weiniaid rhyfeddol cyn hyn mewn amgylchiadau o bwys. Ond er i ddyn fod yn eiddil o gorff, ac yn fyr o gyrhaeddiadau meddyliol, os bydd y dyn oddimewn wedi ymgadarnhau trwy ysbryd Duw, efe ydyw y cryfaf yn yr holl fyd i ddal y prawf, a gwrthsefyll ymosodiadau, &c. I'r dyben i sicrhau y nerth hwn, mae yn angenrheidiol i'r enaid fod yn wreiddiedig a seiliedig mewn cariad.

"*Gwreiddio a seilio.*" Yr oedd dwy gydmariaeth yn meddwl yr awdwr pan yr ysgrifenai y geiriau,—pren, ac adeilad,—gwreiddio pren, a seilio adeilad, a'r ddau yn cynnwys y meddylddrych o sefydlogrwydd. Rhagwelai yr apostol dywydd garw iawn yn hanes ei frodyr crefyddol, pan fyddai i athrawon gau ymosod, cyfeiliornadau ymdaenu, ac ystormydd enbyd erledigaethau guro arnynt gyda'r fath nerth, fel y byddai yn ofynol i'r gwraidd fod yn ddwfn a'r sail fod yn dda, &c.

"*Mewn cariad.*" Y *soil* i'r pren a'r sail i'r adeilad ydyw "cariad." Heb hyn, mae perygl i wynt ystormus profedigaethau ein codymu. Ar y sail hon y sefydlodd Paul ei hun, ac oddiar hon y rhoddodd yr herfeiddiad

hwnw i hollalluoedd y bydoedd ei syflyd, "Canys y mae yn ddyogel genyf, na all nac angeu, nac einioes, nac angylion, na thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presenol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd." (Rhuf. viii. 38, 39.)

Cyfrwng gweithrediad y nerth hwn yn y saint ydyw yr Ysbryd Glân "trwy ei ysbryd Ef." Mae y rhan faterol o'r dyn yn derbyn ei nerth o gynnyrch y ddaear, y rhan ddeallol o hono o wahanol gangenau dysgeidiaeth; ond holl nerth y dyn oddimewn a ddaw iddo oddiwrth ysbryd yr Arglwydd. Yr un ddeddf ag sydd yn rhyddhau oddiwrth bechod a marwolaeth, sydd hefyd yn caethiwo i ufudd-dod ffydd yr efengyl, a'r ddeddf hono ydyw "deddf ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu," &c.

(2.) *Preswyliad Crist yn yr enaid.* "Ar fod Crist yn trigo trwy ffydd yn eich calonau chwi." Ceir crybwyllion mynych yn y gwirionedd am y saint yn Nghrist,—mewn undeb ag ef fel cangenau yn y pren, ac aelodau yn y corff. Maent ynddo hefyd fel y mae dyn yn ei ddillad. "Gwisgwch am danoch yr Arglwydd Iesu Grist." "Canys cynnifer o honoch ag a fedyddiwyd i Grist." Golyga hyn mai Crist yn unig sydd i fod yn y golwg yn mywyd y credadyn. Mewn gwaith pylor (*powder works*) ni chaniateir i'r gweithwyr weithio ond yn nillad y cwmni. Ymddiosgant o'r eiddynt eu hunain bob boreu cyn ymaflyd yn eu gorchwylion, a gwaherddir iddynt gymmeryd dim gyda hwynt i'r tu fewn i'r terfynau gosodedig. Cawn Paul unwaith, ar ol ymddiosg o'i ddillad ei hun, ac ymwisgo yn nillad y cwmni dwyfol, yn tori allan mewn gorfoledd cy-

hoeddus, gan ddywedyd, "Ac y'm cair ynddo Ef heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist." (Phil. iii. 9.)

Crist yn y Cristion sydd yma. Dichon mai y gwahaniaeth rhyngddynt ydyw hyn,—fod preswyliad y credadyn yn Nghrist yn golygu dyogelwch ei gyflwr, a phreswyliad Crist yn y credadyn yn golygu y gwaith santeiddiol a phuredigol yn ei ddygiad yn mlaen yn yr enaid. Crist ydyw unig berchenog y galon, a cham ag ef ydyw ei rhoddi i neb arall.

Cyssegr santeiddiolaf ei Ysbryd Glân ydyw. Triga yn y saint trwy ffydd. Gwaith ffydd ydyw cofleidio ei gwrthddrych o bell. Mae y Gwaredwr yn rhy bell i'r Cristion weled ei wedd, clywed ei lais, na phwyso ar ei fynwes fel Ioan gynt; ond y mae ffydd er hyny yn ei ddwyn yn agos, ei gofleidio, ac yn rhoddi y lle goreu a fedd iddo. "Wrth ffydd yr ydym yn rhodio ac nid wrth olwg."

II. Rheol Duw i gyfranu y bendithion hyn. "Yn ol cyfoeth ei ogoniant Ef."

Cyfoeth gogoniant Duw ydyw gogoniant ei gyfoeth, ac o'r gogoniant y derbynia y dyn oddimewn ei adnoddau. Mae gan yr Arglwydd eiddo mawr yn y byd hwn; ei eiddo Ef ydyw eiddo pawb ereill. "Ynddo Ef yr ydym yn byw, yn symmud ac yn bod." Ond yn y gogoniant y mae ei brif gyfoeth, a'i gyfoeth penaf. Adwaenom ambell i amaethwr, yr hwn y mae ei holl gyfoeth yn gynnwysedig yn y *stock* sydd ar ei fferm. Gwir fod ei feusydd yn fawrion a chynnyrchiol, ei anifeiliaid yn lluosog a breision, ei ŷdlanau a'i ysguboriau yn eang a llawnion, &c.; ond ar ol enwi y pethau hyn, enwir yr oll a fedd; ychydig neu ddim o

*gapital* sydd ganddo o'r tu cefn ar gyfer tymhor o fethiant. Mae ein Duw ni yn wahanol iawn i hyn. Ei fferm Ef ydyw y ddaear. "Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder." Y ddaear yn ei moroedd a'i llynoedd, yn ei hafonydd a'i ffrydiau, yn ei mynyddoedd a'i gwastadeddau, yn ei choedydd a'i llysiau, yn ei glaswellt a'i blodau, &c. Efe hefyd ydyw perchenog yr holl *stock* sydd arni,—"y byd ac a breswylia ynddo." Holl anifeiliaid y maes, holl fwystfilod yr anialwch, holl adar y goedwig, holl ymlusgiaid y llwch, holl bŷsg y môr, &c.

Efe drachefn ydyw perchenog yr holl feteloedd sydd yn mynwes y ddaear, yr haiarn a'r glo, y plwm a'r pres, yr arian a'r aur, &c. A gwyr rhai o honom fod y trysorau hyn wedi eu pacio mor dŷn o'i mewn fel y mae yn rhaid wrth forthwylion, ebyllon, a phylor lawer er dattod eu cylymau. Mor fawr ydyw ei ddaioni a roddodd i gadw ger bron meibion dynion. (Psl. xxxi. 19.) Ond er cymmaint ei eiddo yn y byd hwn, ac ni fynegwyd yr hanner, y mae cyfoeth ei ogoniant o'r tu cefn i'r cwbl etto; yno y mae trysorau gras, ac anchwiliadwy olud yr Iachawdwriaeth; tuag yno yr edrychir am gyfoeth i enaid anfarwol, a chyfiawnhad rhâd trwy y brynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu. Dysgir yma mai ei gyfoeth ydyw ei reol i gyfranu; nid oes yma grybwylliad am dlodi dyn, mae yr holl achos yn pwyso ar yr ysgwydd gadarnaf "yn ol ei gyfoeth Ef." Nid oes achos bod yn brin yn mhethau gras, mae yr adnoddau yn ddihysbydd. Yr arwydd uchaf o ddoethineb ynom fyddai ymdrechu am y cyfoeth hwn, oblegyd y mae adeg yn ymyl pan na wna dim ond hwn y tro. Dyma yr unig gyfoeth sydd yn pasio yn y byd nesaf.

Bydd ymfudwyr o'r wlad hon i'r America, &c., yn newid y *British coin* am arian y wlad y bwriadant fyned iddi, ac y mae gan y llywodraeth swyddfeydd pwrpasol at hyny yn y gwahanol borthladdoedd. Mae pob dyn ar y ddaear yn ymfudwr i fyd arall, byd lle nad oes dim o bethau y byd hwn yn pasio ynddo; ond na ddigaloned neb, "Canys ymddangosodd gras Duw, yr hwn sydd yn dwyn Iachawdwriaeth i bob dyn," &c. Cododd swyddfeydd yn y byd hwn, a gwahoddir pawb iddynt er perchenogi *coin* y byd hwnw. Mae cyfoeth gogoniant Duw yn parhau i gael ei gludo gan yr Ysbryd Glân i'r tu yma i'r môr sydd yn gwahanu y ddau fyd; a chan fod y swyddfeydd yn agored bob Sabboth, gofalwn alw heibio iddynt am yr aur sydd wedi ei buro trwy dân fel y'n cyfoethoger erbyn myned yno.

III. Y RHAGORFRAINT ANMHRISIADWY O FEDDU Y BENDITHION HYN. "Amgyffred y lled a'r hyd," &c. "Gwybod cariad Crist," &c. "Cyflawni â holl gyflawnder Duw."

Ardderchowgrwydd penaf dinas Ephesus oedd y deml a gynnwysai y dduwies Diana, yr hon a ystyrid gynt yn un o saith ryfeddod y byd; ond er ardderchoced y naill a'r llall, meddwl a dwylaw dynol fu yn eu cynllunio a'u hadeiladu, ac fel y cyfryw, gogoniant dynol a berthynai iddynt. Ac ni ellir gwneyd dim gan ddyn na fyddis yn alluog i amgyffred ei ogoniant, a chwmpasu ei fesuriadau. Ond y mae cariad Crist yn anfeidrol yn ei derfynau. Yn gyfryw

"Na chenfydd llygaid cerub craff,
Na seraff ei derfynau."

Neu yn ol y testyn, "Yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth." Bydd y saint, er cynnyddu byth mewn gwybodaeth yn y

drefn a'u cadwodd, yn syrthio yn fyr yn dragywydd o'i gwybod i berffeithrwydd. Mae Duw yn yr efengyl wedi gweithredu yn "dra rhagorol, y tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno neu yn eu meddwl, yn ol y nerth sydd yn gweithredu ynom ni." (Adn. 20.)

Dau fath o brawf sydd,—prawf rheswm a phrawf profiad. Mae cariad Crist uwchlaw gwybodaeth amgyffrediadol. Mae dirgelwch duwioldeb yn ddirgelwch rhy fawr i feddwl meidrol allu ei amgyffred. Mae dyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw yn gyfryw na fedr dyn byth dreiddio i'w waelodion, &c.

Ond y mae ystyr er hyny yn yr hon y mae yn bossibl gwybod cariad Crist. Os ydyw y deall yn methu amgyffred ei faint, y mae yr enaid yn brofiadol o'i flâs, a dyma y wybodaeth oreu o ddigon mewn mater fel hwn. Dichon nad yw y teithiwr blinedig yn gwybod dim am ddyfnder y ffynnon yr yfodd o honi ar fin y ffordd; ond gwyr rhywbeth mwy am dani,—gwyr am adloniant ei dyfroedd i'r sychedig sydd ar drengu.

Pe gofynid i'r morwr beth ydyw hyd, lled, a dyfnder y môr, ei atebiad fyddai "Ni wn i; ond un peth a wn i, y mae wedi fy nghario i a'm llong ddegau o weithiau i'r hafan a ddymunwn," &c. Yr oll fedrai Paul ddweyd am yr Iachawdwriaeth ydoedd ei bod yn "Allu Duw i bob un sydd yn credu." &c.

"Fel y'ch cyflawner," &c. Mae y credadyn mor agored a rhywun arall i amgylchiadau cyfyng y bywyd hwn. Gall fod ei gwpbwrdd yn wâg, ei aelwyd yn oer, a'i gefn yn llwm ar gyfer y gauaf dyfodol, &c. Ond ni raid i'w enaid fod yn

ddiymgeledd, gan fod holl gyflawnder Duw yn eiddo iddo. Llestr a mesurau yn perthyn iddo ydyw enaid; ond am y môr sydd ar ei gyfer, mae yn anfesuradwy a dihysbydd. "Ac o'i gyflawnder Ef y derbyniasom ni oll a gras am ras." Dyma gyflawnder nad oes perygl iddo fyned yn drai yn dragywydd; mae ffynnon ddiball Iachawdwriaeth yn tarddu yn gysson nos a dydd, ac er cynnifer o lestri a lanwyd o honi ar hyd yr oesau, gellir dweyd heddyw mewn perthynas iddi,—

"'Does yma eisiau byth yn bod,
Trysorau gras yn llawn;
Er maint yw'r yfed a'r glanhau
Sydd foreu a phrydnawn."

# PREGETH XIV.

## FFYDD YN EI GWAITH DEUBLYG.

"A gwraig, yr hon oedd mewn diferlif gwaed er ys deuddeng mlynedd, yr hon a dreuliasai ar physygwyr ei holl fywyd, ac nis gallai gael gan neb ei hiachau, a ddaeth o'r tu cefn, ac a gyffyrddodd ag ymyl ei wisg Ef: ac yn y fan y safodd diferlif ei gwaed hi. A dywedodd yr Iesu, Pwy *yw* a gyffyrddodd â mi? Ac a phawb yn gwadu, y dywedodd Petr, a'r rhai oedd gydag ef, *O* Feistr, y mae y bobloedd yn dy wasgu, ac yn *dy* flino; ac a ddywedi di, Pwy *yw* a gyffyrddodd â mi? A'r Iesu a ddywedodd, Rhyw un a gyffyrddodd â mi: canys mi a wn fyned rhinwedd allan o honof. A phan welodd y wraig nad oedd hi guddiedig, hi a ddaeth dan grynu, ac a syrthiodd ger e fron Ef, ac a fynegodd iddo, yn ngwydd yr holl bobl, am ba achos y cyffyrddasai hi ag Ef, ac fel yr iachasid hi yn ebrwydd. Yntau a ddywedodd wrthi, Cymmer gyssur, ferch; dy ffydd a'th iachaodd: dos mewn tangnefedd."—Luc viii. 43—48.

MAE y bennod hon yn llwythog o weithredoedd nerthol yr Arglwydd Iesu. Y mae yma yn dysgu a gweithredu, ac yn profi ei hun yn gymmaint yn y naill a'r llall. Anfynych y ceir dynion yn gyfartal yn eu gweithredoedd ag ydynt yn eu geiriau,—bydd y weithred yn gyffredin yn llai nâ'r gair; nid yn gymmaint am fod y weithred yn llai nag y dylai fod, ond am fod y gair,—y siarad yn fwy. Ond ni lefarodd Iesu air erioed nad oedd

yn alluog i'w attegu â gweithred; yr un peth iddo Ef oedd gweithredu a llefaru.

Y mae yma bedair gweithred ryfeddol yn cael eu cofnodi, —tawelu'r 'storm (adn. 22—26); bwrw allan y lleng o'r dyn yn ngwlad Gadara (adn. 26—37); iachau y wraig hon; a chyfodi merch Jairus (adn. 49—56); ac y mae pob un yn dangos gallu y tu hwnt i feidroldeb. Wrth dawelu'r 'storm, profodd ei hun yn feistr ar elfenau natur. Mae yn syndod fod y dysgyblion mewn ofn a braw tra yr oedd Iesu gyda hwy yn y llong; er ei fod yn cysgu ar y pryd, nid oedd perygl iddi fyned i'r gwaelod tra fyddai Ef ar y bwrdd. Tra yr oedd Iesu yn cysgu yr oedd y 'storm yn effro, ond pan ddeffrödd Iesu fe gysgodd y 'storm. Rhuai yr elfenau fel cenawon llewod am ysglyfaeth, ond yr oedd gair oddiwrth yr Iesu fel cyfodiad haul, yn peri iddynt ymgasglu a gorwedd yn ei llochesau.

Gyda'r dyn o Gadara, profodd ei hun yn feistr ar ddiafol. Dywedir fod yn hwn leng o gythreuliaid. Rhyfedd gymmaint fedr dyn ei ddal o ddrwg neu dda, yr hyn ar unwaith sydd yn profi ei fawredd. Profodd Iesu yn feistr arnynt oll; digon tebyg fod un cythraul yn drech nâ lle lleng o ddynion, ond wele yma *un* Iesu yn drech nâ *lleng* o gythreuliaid. Gwell ganddynt letya mewn moch nag aros yn ei bresenoldeb Ef.

Yn ei berthynas â merch Jairus, profodd ei hun yn feistr ar angeu. Nid oes hanes i angeu roddi ei bresenoldeb gymmaint ag unwaith yn yr un man â'r Arglwydd Iesu, nes iddo trwy ei ganiatad ddyfod iddo ar y groes. Tu cefn ac yn ei absenoldeb y byddai yn gwneyd ei waith bob amser. Yr oedd llawer o ddaear a lled yr Iorddonen

rhyngddo â Iesu pan aeth i Bethania i fylchio y teulu a hoffai. Byddai yr Arglwydd Iesu yn caniatau i angeu gael y blaen arno weithiau, er iddo gael mantais i ddangos ei awdurdod arno, a rhoddi prawf i ddynion o adgyfodiad cyffredinol y dydd diweddaf, trwy ei weithredu ar *scale* fach yn eu gwydd ar y pryd. Felly yr oedd yn yr amgylchiad hwn. Yr oedd Crist yn awr ar ei ffordd i dŷ Jairus i iachau ei ferch, ond rhwystrwyd Ef ar ei daith gan y wraig hon; ac yn y cyfamser, bu y ferch farw. Ond sylwi, fe welir fod y testyn yn dygwydd yn nghanol hanes merch Jairus, yr hyn a ddengys mai ar ei ffordd tuag yno yr oedd pan ddaeth i gyssylltiad â'r wraig hon. Cymhellir sylw at

## Ffydd yn ei gwaith deublyg.

Pe gofynid am ddarnodiad o ffydd, dywedem mai dolen gydiol ydyw, yn cyssylltu dyn â'i drueni, a'r Iesu â'i dosturi wrth eu gilydd. Y mae ynddi allu, nid yn unig i ganfod ei gwrthddrych o bell, ond hefyd i ddifa'r pellder trwy dynu ei pherchenog i undeb annattadol ag Ef.

### I. Ffydd yn tynu ei pherchenog at Grist.

Profir yma fod yn y wraig hon awydd angerddol i adfeddiannu ei hiechyd; yr oedd wedi dyoddef llawer, a hyny oddiwrth lawer, gan wario ei holl eiddo i'r dyben hwnw; ond yn lle gwella, myned waeth, waeth yr oedd.

Y mae lle i gasglu fod eiddo y wraig hon yn gryn swm ar y dechreu; hyn yn ddiau sydd yn cyfrif fod cynnifer o feddygon yn cynnyg eu gwasanaeth iddi, y rhai, er methu ei gwella, a godent y doll yn bur drwm ar ei llogell. Yr ydym yn barod iawn i ddyoddef llawer, a gwario yr holl

eiddo a feddwn er mwyn gwella, ond diflas ydyw gwneyd hyny a methu.

Mae rhyw duedd mewn dynion i roddi prawf ar bawb cyn rhoddi cynnyg i'r Iesu; y cynnyg diweddaf y mae wedi ei gael gan filoedd o gleifion ysbrydol. Nis gallwn feio ar y wraig hon am wneyd hyny, oblegyd newydd ddechreu ar y gwaith hwn yr oedd Iesu; ychydig o *destimonials* oedd wedi gael fel meddyg cyrff yr adeg yma. Ond ceir degau o filoedd yn ein gwlad, yn gwybod nad oes neb ond Efe yn alluog i "gwbl iachau" yr enaid, ac ar yr un pryd yn dyfeisio pob esgus i beidio dyfod ato. Cofia, ddarllenydd anwyl, nad oes gwell hanes i ti na myned waeth, waeth, nes gwrthod pawb a'i dderbyn Ef.

*Mae gwir ffydd yn codi ei pherchenog uwchlaw amheuaeth am y fendith a geisir.* Nid yn fyrbwyll a difeddwl yr aeth y wraig hon at y Ceidwad; bu yn troi y mater yn bwyllog a difrifol yn ei meddwl yn flaenorol, ac yn ymddyddan â'i chalon yn ei gylch. "Canys hi a ddywedasai ynddi ei hun, Os caf yn unig gyffwrdd â'i wisg Ef, iach fyddaf." (Mat. ix. 21.) Nid "mi fyddaf yn well;" buasai hyny yn ddweyd mawr i un oedd yn myned yn waeth, waeth, ar ol pob cynnyg, ond "iach fyddaf." Credai fod rhyw awyrgylch yn amgylchynu yr ymwelydd dwyfol, yr hwn a brofai yn iechyd iddi hi ac yn angeu i'w hafiechyd. Yr oedd nerth ei ffydd wedi ei gwneyd yn fwy nâ hanner iach cyn iddi gyffwrdd ag ymyl ei wisg Ef.

*Mae ffydd iawn yn ymagweddu i ryw ffurf weithredol bob amser.* Nid yw ffydd oleuedig yn terfynu mewn crediniaeth, ond cynnyrcha ysbryd *gwneyd* yn ei pherchenog.

Os na wêl waith, y mae ynddi allu i greu gwaith. Mae y wraig hon wedi dyfod i deimlo fod galwad am iddi osod ei ffydd mewn ymarferiad er adfeddiannu ei hiechyd. Dywedodd ynddi ei hun, "Mae eisieu cerdded at y Meddyg; rhaid i mi wneyd hyny gan ei fod yn fy ngallu. Bydd galwad am ymwthio ato trwy y dorf er dyfod o hyd iddo, ac wedi hyny gyffwrdd ag ymyl ei wisg Ef; gweithredoedd yw y rhai hyn sydd yn disgyn i fy rhan i" "Ffydd heb weithredoedd, marw yw." Mae ffydd yn yr enaid fel enaid mewn corff, neu ager mewn peiriant, yn allu ynddo i'w symmud yn nghyfeiriad gweithredoedd. "Credais, am hyny y lleferais." Mae edifeirwch, ufudd-dod, &c., yn ffrwythau plygiedig ar gangenau pren ffydd. Ffydd sydd yn rhoddi bodolaeth i weithredoedd, a gweithredoedd sydd yn profi bodolaeth ffydd.

*Nid yw ffydd yn rhoddi gorphwysdra i'w pherchenog nes dyfod o hyd i'r Iesu ei hun.* Gwna ddefnydd o bob cyfleusdra yn unig i'r dyben unplyg hwn, "Ewyllysio gweled yr Iesu" Lle bynag y cyfarfyddir â hi, yn moddion gras, uwchben gair Duw, &c., gellir dweyd wrthi fel y dywedodd yr angel hwnw wrth y gwragedd, "Canys mi a wn mai ceisio yr ydych yr Iesu, yr hwn a groeshoeliwyd." Dichon y bydd lluaws o rwystrau ar ei ffordd; y mae ganddi lwybrau anhygyrch i'w teithio yn fynych cyn cyrhaedd ei nôd, ond er dim ni thry yn ol. Gwna ddefnydd o'r dwylaw, y traed, a'r tafod cyn rhoddi fyny. Os dygwydd i'r dyrfa ddideimlad geryddu, a cheisio ganddi dewi fel gyda'r deillion ar fin y ffordd, ni bydd hyny ond *help* iddi "lefain yn fwy o lawer." Os dygwydd fod tyrfa wedi *crowdio* o gwmpas drws y tŷ lle bydd yr Iesu yn pregethu,

fel yn hanes y claf o'r parlys, fe wna ffydd ddringo i ben y y tŷ a didoi y tô; neu, os bydd y dorf mor fawr nes gwasgu, fe wthia ffydd ei ffordd trwyddi, a myn gyffwrdd ag ymyl gwisg y Ceidwad. Diau fod lluaws o rwystrau rhwng ein gwrandawyr a Mab Duw, ond ffydd o faint y gronyn mwstard hwnw, a'u symmudent oll oddiar y ffordd. Y mae ffydd o'r iawn ryw naill ai yn symmud y rhwystrau neu yn cynnorthwyo ei pherchenog i dori trwyddynt. Cyffwrdd ag ymyl gwisg y Ceidwad oedd dymuniad y wraig hon, a hyny a wnaeth pan gafodd y cyfle; a chan mai y Dyn a'r Duwdod ynddo'n trigo oedd yn byw yn y wisg ar y pryd, yr oedd hyny yn ddigon; daeth iechyd iddi hi trwy gyfrwng y cyffyrddiad ffyddiog.

II. Ffydd yn tynu i'w pherchenog oddiwrth Grist. Darfu i gyssylltiad y wraig hon â'r Iesu effeithio cyfnewidiad uniongyrchol ynddi,—"Ac yn y fan y safodd diferlif ei gwaed hi." Teimlodd ei chyfansoddiad yn sadio trwyddo oll. Ond, nid cynt y teimlodd hi nag y teimlodd Iesu,—"A dywedodd yr Iesu, Pwy yw a gyffyrddodd â mi?" Byr iawn yw yr amser sydd yn cyfryngu rhwng gwaith Iesu yn *rhoddi* a gwaith y pechadur yn *derbyn*. Nid cynt yr egyr ei law mewn rhagluniaeth nag y diwellir pob peth byw â daioni. Yr oedd y canwriad yn credu hyn,—"Dywed y gair a iach fydd fy ngwas."

Nid er ei fwyn ei hun y gofynodd yr Iesu y cwestiwn hwn, ond er mwyn ereill. Ceir rhai yn gwadu ei Dduwdod am iddo ofyn, "Pwy?" Nid yw yn hyn ond gwneyd yr hyn a wnaeth ei Dad o'i flaen. "Adda, pa le yr wyt ti?" "Cain, y mae Abel dy frawd?" Eu deffro i iawn synied

eu cyflwr oedd yr amcan. Yr oedd Iesu yn arfer gofyn fel hyn, "Pa le y dodasoch ef?" am Lazarus; "Pwy y mae dynion yn dywedyd fy mod i?" Nid er ei fwyn ei hun, ond yn

(1.) *Er mwyn y wraig.* Yr oedd Iesu am roddi chwaneg iddi nag oedd wedi gael,—cyssur a thangnefedd meddwl. Pe cawsai ddianc fel yr oedd, rhyw fendith hannerog fuasai ganddi. Pa mor afiach bynag yr oedd yn ei chorff, yr oedd yn fwy felly yn ei henaid; ac yr oedd yr Iesu am ei chael i'r golwg er mwyn ei gwneyd yn holliach, gorff ac enaid. Eisieu parhaus sydd ar ddyn, ac eisieu parhaus sydd ar Iesu.

"Mawr eisieu *cael* sydd arnaf fi,
Ac eisieu *rhoi* ar Iesu sy'."

Amcan mawr yr efengyl yw cael y ddau *barti* hyn i undeb ffydd â'u gilydd.

(2.) *Er mwyn y dyrfa.* Diau fod lluaws yn bresenol yn yr un cyflwr ysbrydol â hithau, ac yr oedd angen am ei chyffes hi er cyfeirio eu meddwl at y meddyg anffaeledig. Cofiwn ninnau, grefyddwyr, fod lluaws a eneidiau afiach yn yr un gymmydogaeth â ni; gofalwn fynegu rhinweddau yr hwn a'n galwodd. Mae y pa *faint* a wnaeth yr Arglwydd erom yn ddigon o destyn i ddweyd arno am byth.

Barnodd Pedr iddo gael hyd i'r atebiad,—"Y mae y bobloedd yn dy wasgu ac yn dy flino." Tybiodd ef yn ei ddull brysiog, ond hollol gysson â'i dymher, mai cwestiwn hawdd iawn ei ateb dan yr amgylchiadau oedd hwn; ond fel llawer tro arall, fe fethodd. "A'r Iesu a ddywedodd, Rhyw *un* a gyffyrddodd â mi." 'Nid pwy sydd yn gwasgu ofynais, ond pwy a gyffyrddodd â mi? Y mae yma lawer

yn gwasgu, ond *un* sydd wedi cyffwrdd : nid wyf yn teimlo dim oddiwrth y gwasgu, ond mae y cyffwrdd wedi effeithio arnaf,—'Canys mi a wn fyned rhinwedd allan o honof.'" (Adn. 46.) Rhywbeth "o hono" ydyw trugaredd; oddi-*wrtho* y mae barn a chyfiawnder yn myned,—cleddyf, newyn, haint, &c., oddiwrtho. Nid oes lle i'r pethau hyn ynddo, oblegyd ei fod yn "*llawn* gras a gwirionedd." Teimlodd y wraig mai ati hi yr oedd Iesu yn cyfeirio. "A phan welodd y wraig nad oedd hi guddiedig, hi a ddaeth dan grynu, ac a syrthiodd ger ei fron Ef," &c. (Adn. 47.) Yr oedd ei chryndod yn cyfodi oddiar ddiffyg adnabyddiaeth drwyadl o'r Iesu; ofnai iddo ddwyn *charge* yn ei herbyn. Yr oedd ei ffydd yn gref yn ei allu, ond nid mor gref yn ei ewyllys. Dichon nad oedd yn gyfarwydd â'r geiriau hyny, "Corsen ysig nis tŷr, a llîn yn mygu nis diffydd." Y mae y gair nesaf a lefarodd Crist yn atal y cryndod. "Cymmer gyssur ferch:" "os wyt ti yn well, nid wyf fi yn ddim gwaeth," &c. Dyma enw newydd iddi yn y fargen; gwraig ydoedd yn nechreu yr hanes, ond yn awr "merch." Mae gras Duw yn gwneyd dynion yn feibion ac yn ferched iddo. "Cynnifer ag a'i derbyniasant Ef, Efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, sef i'r sawl a gredant yn ei enw Ef." (Ioan i. 12.)

"Dy ffydd a'th iachaodd." Gwaith Iesu a'i bobl ydyw canmol eu gilydd. "Ei wisg Ef," meddai hi; "Ei ffydd hi," meddai Efe. Priodolai hi yr oll iddo Ef, wele yntau yma yn talu y *compliment* yn ol,—"dy ffydd." Mae y ddau yn iawn, oblegyd y mae ffydd o du dyn mor hanfodol i iachawdwriaeth ag ydyw cyfoeth a gras yn Nuw. "Eithr y neb ni chredo a gondemnir," &c.

# PREGETH XV.

## CRIST YN WEDDUS ARCH-OFFEIRIAD.

"Canys y cyfryw Arch-offeiriad santaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid, ac wedi ei wneuthur yn uwch nâ'r nefoedd, oedd weddus i ni."—Heb. vii. 26.

Y MAE holl waith cyfryngol yr Arglwydd Iesu yn cael ei gyflawni ganddo mewn un o dri cymmeriad swyddol,—Brenin, Prophwyd, Offeiriad.

Yn nghyflawniad y gwahanol swyddau hyn, byddai yn gweithredu tuag at wahanol bleidiau; yn y cymmeriad o Frenin a Phroffwyd ymwneyd â dynion dros Dduw y mae,—llywodraethu trwy y naill, a dysgu trwy y llall. Ond gwrthddrych uniongyrchol ei swydd offeiriadol ydyw ei Dad,—gwasanaethu dros ddynion yn y pethau sydd tuag at Dduw.

Yr oedd y swydd offeiriadol yn ymranu i ddau waith,—aberthu ac eiriol. Cyflawnid y ddau waith gan bersonau gwahanol, mewn lleoedd gwahanol, ac ar adegau gwahanol. Yr offeiriad fyddai yn aberthu, a hyny o'r tu *allan* i'r cyssegr; yr arch-offeiriad fyddai yn cymmodi, a hyny *yn* y cyssegr. Yr offeiriad fyddai yn gweithredu gyntaf. Gan na feiddiai yr arch-offeiriad fyned i'r cyssegr heb waed, yr

oedd gwasanaeth yr offeiriad yn aberthiad yr anifail yn angenrheidiol er rhoddi cymhwysder iddo. Yr oedd y ddwy swydd hyn yn cydgyfarfod yn yr Arglwydd Iesu; y mae y naill *wedi* ei chyflawni o'r tu allan i'r cyssegr yn ei waith yn aberthu ei hun dros bechodau, a'r llall *yn* cael ei chyflawni ganddo yn y cyssegr nid o waith llaw. O ran amser ni bu yn hir yn y swydd offeiriadol, ond fel Arch-offeiriad y mae yn byw bob amser i eiriol. Yr oedd yr aberthu dan y gyfraith yn cymmeryd mwy o amser nâ'r eiriol; yr oedd un diwrnod o eiriol yn ddigon i ddihysbyddu holl werth yr ebyrth a offrymid. "Eithr hwn (Crist), wedi offrymu un aberth dros bechodau, yn dragywydd a eisteddodd ar ddeheulaw Duw." (Pen. x. 12.) Yr oedd y byr waith a wnaeth Iesu arno ei hun ar y groes yn ddigon mawr ac effeithiol i roddi gwaith eiriol iddo ei hun tra pery dyddiau y ddaear.

Pwnc yr awdwr yn y bennod ydyw dangos cyfaddasrwydd Crist fel Arch-offeiriad. Noda amryw bethau i brofi hyny, —wedi ei gymmeryd o blith dynion,—wedi ei ddwyfol appwyntio i'r swydd,—cael dyfodiad agosach at, a dylanwad mwy gyda'r Tad,—dyfod oddiwrth y Tad, a myned yn ol drachefn ato, &c.

Yn y testyn, sylwa ar nodweddion moesol ei gymmeriad, pa rai sydd yn ei ddyrchafu yn rhyfeddol uwchlaw pawb fu yn gwisgo yr enw, ac yn troi yn y swydd o'i flaen. "Yn santaidd, diddrwg," &c. Yr oedd dau annghyfaddasder amlwg yn yr Arch-offeiriaid Iuddewig i barhau yn eu swydd, —yr oeddynt yn bechadurus ac yn farwol fel dynion ereill; ond yr Arglwydd Iesu yn ddibechod, ac yn anfarwol,—"Yn byw bob amser i eiriol dros droseddwyr," &c.

CRIST YN WEDDUS ARCH-OFFEIRIAD GAIFF EIN SYLW. "Oedd weddus i ni."

Dylem gofio bob amser mai bendithion i *ni* ydyw holl ragorfreintiau yr efengyl. Cenadwri yr angel oedd, "Ganwyd i *chwi* heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd." Cwyn ddolefus yr ysbrydion aflan ydoedd, "Beth sydd i ni a wnelom â thi, a ddaethost ti i'n poeni ni?" Y mae yn elyn i gythreuliaid, yn gyfaill i angylion, ac yn Geidwad i ddynion. "Emanuel, Duw gyda ni." Yn "weddus i ni" yn

1. AR GYFRIF YR HYN OEDD. Diamheu fod y geiriau "santaidd," &c., yn cyfeirio at yr hyn oedd Crist pan yn y byd hwn; oblegyd nid yw yn rhinwedd bod yn 'santaidd' pryd na byddo aflendid o fewn cyrhaedd. Byw yn lân mewn byd aflan sydd gamp, a bod yn ddidoledig oddiwrth bechaduriaid tra yn byw yn eu canol ydyw yr orchest. Y mae y cymhellion i santeiddrwydd a roddir mor fynych yn y gair dwyfol yn brawf fod galwad i ddyn fod ar ei oreu yn y byd hwn; ond am yr Arglwydd Iesu, yr oedd Ef yr hyn y dywedir ei fod pan yn y byd hwn, "santaidd," &c Yr oedd felly mewn ystyr na fu neb o'i flaen nac ar ei ol.

"*Santaidd*." Dynoda hyn ei deimlad at ei Dad, a'i ymddygiad tuag ato; yr oedd yn wreiddiol a hanfodol santaidd. Gwneyd y goreu o bethau fel yr oeddynt oedd Duw dan yr hen drefniant. Nid dim ag oedd yn yr ebyrth, y deml, yr offeiriaid, &c., oedd yn rhoddi santeiddrwydd iddynt; yr oedd eu santeiddrwydd hwy yn cyfodi oddiar waith Duw yn eu neillduo i ddybenion santaidd. Yr oedd y deml yn fwy cyssegredig nag unrhyw adeilad arall, am

fod Duw wedi ei osod arni,—yr oedd y naill anifail yn lanach nâ'r llall, am fod Duw yn ei ddewis i'w wasanaeth, —yr oedd santeiddrwydd teulu Aaron yn cyfodi oddiar benarglwyddiaeth y Jehofa yn ei neillduo i waith y cyssegr; ond am Grist, yr oedd yn santaidd yn annibynol ar ei osodiad,—dyma ei gymmeriad erioed a byth.

Yr oedd yr offeiriad Iuddewig yn santaidd am ei fod yn y swydd,—santeiddrwydd seremonïol ydoedd; ond y mae Crist yn y swydd am ei fod yn santaidd. Rhywbeth roddid *at* yr offeiriad Iuddewig a gyfansoddai ei santeiddrwydd, ond cyfodai santeiddrwydd Crist o'r hyn ydoedd ynddo ei hun. Pan gollai yr offeiriad Iuddewig ei swydd, collai ei santeiddrwydd yr un adeg; ond pe byddai y fath beth yn bod rywdro ag i Grist golli ei swydd, yr hyn na chymmer le, arosai ei gymmeriad yr un fath yn dragywydd. Mae y paentiwr yn fedrus iawn i ddynwared sylweddau; gall roddi lliw derw ar bren ffawydd, &c. Rhyw baentio pethau oedd Duw dan y trefniant seremonïol; paent o santeiddrwydd oedd ar y deml, yr offeiriaid, yr ebyrth, &c. Gwisg ydoedd a wisgwyd allan. Yn y ffug-flodeuyn, canfyddir mai llaw celfyddyd fu yn gosod y lliwiau arno, a gellir dileu y naill heb ddinystrio y llall; ond yn mlodau yr ardd y mae y ddau yn annattodol; mae y prydferthwch aml-liwiog, nid arno yn unig, ond ynddo a thrwyddo, ac mor hanfodol â bywyd i'w fodolaeth; felly santeiddrwydd yr Arglwydd Iesu, hanfod ei fodolaeth ydyw. Trwy gyfrifiad y daeth yn bech-aberth. "Rhoddwyd pla arno Ef am gamwedd fy mhobl." "Efe a wnaethpwyd yn felldith drosom ni." "Efe a ddug ein pechodau ni," &c. Gwelir mai yn ei berthynas â ni y daeth yr enwau hyn yn deitlau iddo; a

chan iddo Ef wisgo ein teitlau ni, cawn ninnau wisgo ei deitlau Ef. "Os plant, etifeddion hefyd, sef etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ." Fe'n gwneir yn "freninoedd ac offeiriaid i Dduw a'i Dad Ef," &c.

*Diddrwg*. Golyga y gair hwn ddiniweidrwydd cymmeriad. Ni fu ac ni ddaw neb tra yn y byd hwn i fod yn ddiddrwg yn yr un ystyr â Iesu. Nid oedd *tuedd* ddrwg ynddo, ac ni wyddai am eiliad beth oedd lletya meddyliau llygredig yn ei fynwes. Holl rym temtasiynau iddo Ef oedd peri iddo ddyoddef; ni wnaethant iddo bechu. Er cael ei arwain i'r anialwch, ei demtio gan yr un drwg, ei gyhuddo ar gam, ei hoelio wrth bren, &c., daliodd yn ddiddrwg trwy y cyfan. Ni chafodd neb esiampl ddrwg ganddo, yr un gair ysgafn a llygredig o'i enau, nâ'r arwyddion lleiaf o anmhuredd mewnol. "Y cyfiawn hwnw," meddai Ananias. "Dim bai yn y dyn hwn," meddai Pilat. "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn," meddai swyddogion y Phariseaid. "Yn wir mab Duw oedd y dyn hwn," meddai y Canwriad. Dygai pawb ag oedd mewn mantais i farnu, dystiolaeth unllais i'w burdeb a'i santeiddrwydd. Dangosodd y Tad hefyd trwy dystiolaethau eglur bod ei Fab yn ffyddlonach iddo nâ neb arall. Canodd angylion ar ei enedigaeth, disgynodd yr Ysbryd arno yn ei fedyddiad, daeth llef gymmeradwyol iddo oddiwrth y mawr ragorol ogoniant yn y mynydd; ac ar ol gorphen ei lafur a'i loes, daeth cerbyd angylaidd i'w gyrchu tua chartref.

*Dihalog a didoledig oddiwrth bechaduriaid*." Golyga hyn ryddhad oddiwrth ddylanwad pob drygioni trwy gyffyrddiad ag ereill. Y mae yma gyfeiriad at santeiddrwydd seremonïol yr offeiriaid, yr hwn a'u gorfodai i gadw yn

mhell oddiwrth aflendid seremonïol, megys y gwahanglwyf, cyrff meirw, &c. Ond er fod y wlad yn llawn clefydau o bob math, gelynion o bob rhyw, a phechodau o bob desgrifiad, cadwodd Iesu ei wisgoedd yn lân yn nghanol yr oll o honynt. Cyffyrddai â'r cleifion, siaradai â chythreuliaid, a gorchymmynai i angeu ddychwelyd ei ysglyfaeth. Gwnaeth y byd yn well heb wneyd ei hun yn waeth. Yn ngwaith pylor (*powder works*,) Glynnedd, o fewn llai nâ dwy flynedd yn ol, cymmerodd gwisg un o'r gweithwyr dân yn y *lodge* ar adeg ciniaw, ac er fod cyfeillion calon iddo gerllaw, ni feiddient fyned yn agos ato i ddiffodd y tân, am fod eu dillad yn orchuddiedig gan lwch y pylor. Gwaedai eu calon wrth orfod edrych ar y truan yn llosgi i farwolaeth, a hwythau mewn cyflwr annghyfaddas i weini cymhorth iddo. Byd ar dân oedd hwn pan ymwelodd yr Arglwydd Iesu ag ef, ac nid oedd neb fedrai waredu ei frawd ; yr oedd holl elfenau llosgnwyon llygredigaeth yn ennynu ei gyfansoddiad moesol. "Pawb a bechasant ac ydynt yn ol am ogoniant Duw." Ond gan fod Mab Duw yn rhydd oddiwrth yr elfenau dinystriol, cyn myned o hono, cipiodd filoedd o bentewynion o'r gyneuedig dân. Glanhaodd gyrff, glanhaodd eneidiau, glanhaodd y deml, glanhaodd y wlad a'r byd o'r bron ; ac er newid ei safle—y gogoniant am y gwarth—yr un ydyw ei waith hyd heddyw, a phenderfyna barhau wrtho nes cael tyrfa nas gall neb ei rhifo i'w foli byth heb gymmaint a sawyr y tân arnynt. Ei waed Ef sydd yn diffodd y tân, ac yn gwella briwiau y pentewynion. Crist yn weddus yn

II. AR GYFRIF YR HYN YDYW. "Yn uwch nâ'r nefoedd."

Nid yn y nefoedd y mae gorsedd Mab Duw, ond y nefoedd

ydyw. "Y nef yw fy ngorseddfainc." "Uwch nâ'r nefoedd." Mae dau eithafion cyferbyniol yn cael eu harfer am Grist na chrybwyllir am neb arall. Un ydyw hwn, "uwch nâ'r nefoedd;" y llall ydyw, "parthau isaf y ddaear." Pan adawodd y nef, ni arosodd nes myned yn *is* nâ phawb, "parthau isaf y ddaear." Pan adawodd y ddaear, ni orphwysodd nes myned yn uwch nâ phawb, "goruwch yr holl nefoedd." Bu ei ddisgyniad i'r parthau isaf yn gymhorth i'w esgyniad i'r parthau uchaf. "Yr hwn a ddisgynodd yw yr hwn hefyd a esgynodd." Yn y gwaelodion y cafodd nerth i esgyn i ddeheulaw y mawredd yn y goruwchleoedd.

Mae y gair "nefoedd" yn y testyn yn myned am breswylwyr dedwydd y byd arall. Ceir y nefoedd a'r ddaear weithiau yn golygu eu trigolion. "Cân di nefoedd, a gorfoledda di ddaear." Y meddwl, gan hyny ydyw, fod Crist yn uwch nâ phawb o ran safle. Y mae yno lawer yn uchel, thronau, arglwyddiaethau, tywysogaethau, &c.; ond rhaid i'r Iesu edrych tuag i lawr i ganfod yr uchaf o honynt; at ei draed y plygant, ac wrth ei draed y bwriant eu coronau. Ar ryw olwg y mae yn syndod ei fod yn weddus i ni ac yntau mor uchel, oblegyd y mae uchder safleoedd fel rheol yn pellhau dynion oddiwrth eu gilydd. Nid felly y Ceidwad; lle bynag y mae Efe, mae y natur ddynol yn yr un man, ac y mae hono yn peri iddo gofio fod brodyr iddo ar ol yn ngwlad y cystudd mawr yn dysgwyl ei gydymdeimlad. Er fod Moses yn uwch nâ'r genedl, parai ei berthynas â hi iddo fyned at Dduw yn fynych ar ei rhan; ni ddarfu i'r driniaeth chwerw a gafodd Joseph, na'i ddyrchafiad i'r ail gerbyd yn yr Aifft, beri iddo annghofio ei frodyr yn Ngha-

naan, ond profodd iddynt yn mhen yr ugain mlynedd fod y berthynas mewn grym, ac yn dal ei thir. Yr ydym yn llawenhau wrth feddwl mai un o'n teulu ni sydd yn llenwi y sedd uchaf yn y drydedd nef, a bod ein hachos ni dan sylw ganddo.

Bu raid i Fesur Claddu Osborne Morgan basio trwy ddau Dŷ y Senedd cyn dyfod yn ddeddf; ond pan fyddo pechadur yn deisebu ar fesur claddu beiau i *barliament* y drydedd nef, y mae yn pasio y tŷ uchaf yn unfrydol ar y cynnyg cyntaf. Cleddir y pechodau, maddeuir y beiau, annghofir yr anwireddau, cyfiawnheir y pechadur, &c. A'r hyn sydd yn fwy gogoneddus ydyw, y gwneir yr oll ar unwaith.

Y mae Crist yn meddiannu ei safle bresenol ar ei draul ei hun. "O herwydd paham Duw a'i tra dyrchafodd yntau." Yr oedd ei waith yn darostwng ei hun yn rheswm gan ei Dad dros ei ddyrchafu. Y mae yn awr yn alluog i osod ei law ar y ddwyblaid heb ddigio y naill na niweidio y llall, a'u dwyn i gymmod a hedd â'u gilydd. Trwy arogldarth peraidd ei aberth Ef yr esgyn gweddïau at Dduw, ac y disgyn trugaredd oddiwrtho. Beth bynag ofynir i'r Tad yn ei enw, Efe a'i rhydd. Yn amser y rhyfel fawr rhwng Pompii a Cæsar, crybwyllir am gweryl teuluaidd, yr hwn a derfynodd mewn ymraniad. Yn mhen blynyddoedd codwyd un o'r brodyr i'r fainc farnol. Rhywdro, arweinid hen wr crymedig a phenwyn ger ei fron i sefyll ei brawf am fywyd. Yn ei syndod a'i dosturi gwnaeth ymholiad pwy ydoedd, ac nid hir y bu cyn cael ar ddeall mai ei dad ei hun ydoedd. Gohiriodd y prawf, ac aeth ar unwaith at y brenin, a dywedodd, "Gad i'r hyn a wnes i drosot yn y rhyfel â Pompii fod yn iawn am fywyd fy nhad." Rhyddhawyd yr hen wr

ar unwaith, a bu llawenydd mawr. Y mae gan y pechadur euog berthynas ar fainc y llywodraeth. Parhâ i eiriol,

"Gan ddywedyd, O! fy Nhad,
Gwel fy nwylaw a fy nhraed,
Mi a'u prynais, O! gad iddynt fyw."

Llefwn am adnabod y berthynas mewn dydd o ras. Amen!

# PREGETH XVI.

## IESU GRIST O'I LE.

"Wele, yr wyf yn sefyll wrth y drws, ac yn curo: os clyw neb fy llais i, ac agoryd y drws, mi a ddeuaf i mewn ato ef, ac a swperaf gydag ef, ac yntau gyda minnau."—Dat. iii. 20.

EGLWYS Laodicea oedd y fwyaf ddirywiedig o'r saith eglwys yn Asia; crybwyllir yma am saith o honynt, a'r seithfed ydyw y berffeithiaf mewn drygioni. Wrth ddarllen y bennod hon a'r un flaenorol, canfyddir mai cymmysglyd ydyw hanes y mwyafrif o honynt. Ceir ynddynt y drwg a'r da,—rhai pethau i'w cymmeradwyo, a phethau ereill i'w condemnio; ac y mae y "Tyst ffyddlon a chywir" yn ein hysbysu o'r naill a'r llall. Gwna y cyntaf er mwyn eu calonogi, a'r diweddaf er mwyn eu rhoddi ar eu gocheliad a'u gwyliadwriaeth. Dylem efelychu mwy ar Grist yn hyn. Ceir lluaws o ddynion yn rhedeg i eithafion unochrog; os canmol y byddant, gorganmolant; neu os beio, drwgliwiant,—gwyngalchant, neu bardduant, &c.

Y mae yma un eglwys (Smyrna) yn sefyll yn hollol wrthgyferbyniol mewn cymmeriad i'r eglwys hon. Y mae y pump eglwys arall yn tebygu mewn rhyw bethau i'r ddwy hyn,—yn tebygu i'r ddwy yn yr hyn y maent hwy yn

annhebyg i'w gilydd; yn yr hyn sydd dda, rhinweddol, a chymmeradwy, tebygu i Smyrna y maent; ond yn yr hyn sydd ddrwg, niweidiol, a beius, tebyg ydynt i Laodicea. Ond am y ddwy hyn, y maent yn hollol annhebyg yn mhob peth. Y maent yn wahanol yn eu barn bersonol am danynt eu hunain; barn Smyrna am dani ei hun ydyw ei bod yn "gystuddiol a thlawd." (Pen. ii. 9.) Ond dywed hon, "Goludog wyf, ac mi a gyfoethogais, ac nid oes arnaf eisieu dim." (Adn. 17.) Y maent yn wahanol hefyd yn nghyfrif yr hwn sydd gymhwys i farnu eu diffygion a'u rhagoriaethau. Ei farn Ef am eglwys Smyrna oedd, ei bod yn gyfoethog, "Eithr cyfoethog wyt;" ond ei farn am Laodicea ydoedd ei bod yn "druan, ac yn resynol, ac yn dlawd, ac yn ddall, ac yn noeth." Yr oedd hon yn rhy ddrwg i allu canfod ei drygioni. "Ni wyddost dy fod."

Yr eglwys gyfoethocaf yn ei chyfrif ei hun ydyw y druenusaf yn nghyfrif Duw. Nid oes gwaith na lle i Ysbryd yr Arglwydd mewn eglwysi o deimlad hunan-ddigonol; gyrir Ef allan, a chaur y drws ar ei ol. Ond gan y gwyr Ef ei hamgylchiadau yn well nâ hi ei hun, a'i fod yn hwyrfrydig i ddig a helaeth ei drugaredd, er myned allan, nid yw yn myned yn mhell, nac ychwaith yn myned gyda'r bwriad o aros yn hir. Mor gynted ag y trowyd Ef allan, trodd yntau yn ei ol, megys ar ei sawdl, gan gymhell ei hun i'w sylw. "Wele, yr wyf yn sefyll wrth y drws, ac yn curo," &c.

I. FOD YR ARGLWYDD IESU YN EI BERTHYNAS A'R EGLWYS HON O'I LE. "Wrth y drws."

Gwir nad ydyw yn mhell, nad oes ond trwch y drws rhyngddo a bod i fewn, ond yn rhy bell, er hyny, i fod o

fendith iddi. Nid wrth y drws y mae ei le, ond yn nghanol yr eglwys; yn ei chanol y mae yn gadernid iddi. "Yr Arglwydd dy Dduw yn dy *ganol* di sydd gadarn; Efe a achub; Efe a lawenycha o'th blegyd gan lawenydd; Efe a lonydda yn ei gariad; Efe a ymddigrifa ynot dan ganu." Y mae lle gwag yn yr eglwys, er iddi fod yn llawn o ddynion, nad oes neb ond Iesu fedr ei lenwi. Cafwyd degau o gyfarfodydd cyn hyn â'u llonaid o'r nefoedd yn absenoldeb rhai o'r brodyr goreu; ond yn absenoldeb Iesu, ni chafwyd gynnifer ag un. Y mae Iesu, gyda dau neu dri, yn gwneyd cyfarfod llawn, ond cyfarfod gwag fyddai llonaid byd hebddo.

Nid yw Crist wedi colli ei hawl yn yr eglwys, oblegyd pe felly, ni buasai o'i le wrth fod y tu allan i'r drws; ond gan fod yr hawl yn aros ganddo, nid allan y mae ei le. Gelwir Ef yn ei berthynas â'r byd hwn yn "ddechreuad creadigaeth Duw." (Adn. 14.) Efe ydyw yr achosydd cyntaf o honi. Yr oedd Efe ei hun yn bodoli o'i blaen, heb un achos tu ol i'w fodolaeth, oblegyd "trwyddo Ef y gwnaethpwyd pob peth; ac hebddo Ef ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd." Ond yn ei berthynas â'r eglwys y mae nid yn unig yn Greawdwr, ond yn Brynwr iddi. Gwnaeth y bydoedd â'i air, ond prynu yr eglwys â'i waed ddarfu iddo. Efe yn mawredd ei gariad, a dyfnder ei ddyoddefiadau a'i pwrcasodd â'i werthfawr waed ei hun. Rhoddodd ei hun dros yr eglwys, ac fe'i gwnaethpwyd mewn canlyniad yn ben uwchlaw pob peth iddi. Gan iddo dalu am dani hyd eithaf gofynion cyfiawnder, y mae ganddo hawl gyfiawn i'r lle goreu ynddi.

Nid yw o'i le am ei fod wedi colli ei ddyddordeb ynddi.

Pe buasai hyny yn bod, nid wrth y drws yn cymhell ei hun i mewn y gwelid Ef; buasai wedi cefnu i beidio dychwelyd. Dydd tywyll fyddai hwnw yn hanes Seion pan welid ei Phriod yn ymadael â'i haelwyd i beidio troi yn ol. Dydd cymmylog oedd hwnw i'r Sodomiaid pan gefnodd Lot ar eu dinasoedd. Boreu anobeithiol oedd hwnw i'r cynddiluwiaid pan glôdd Duw ar Noah yn yr Arch, ac y cymmerodd yr agoriad gydag Ef i'r nefoedd; ond mil mwy anobeithiol fyddai i'r eglwys weled ei gogoniant yn ymadael o honi. Diolch am le i gredu nad ydyw wedi gwneyd hyny. Nid yw yr Arglwydd Iesu gartref yn y byd hwn ond yn Seion, a phan yno, mae yn bob peth iddi er ei dyogelwch a'i chys-sur,—"yn fur o dân o'i hamgylch, ac yn ogoniant yn ei chanol." Paham y mae o'i le? Mae yr achos o hyn yn yr eglwys,—wedi rhoddi ei le i arall y mae, a dyweyd, "ni fynwn ni hwn i deyrnasu arnom." Mae y doniau rhaglun-iaethol a fwriedid yn gymhorth iddi wrth eu defnyddio yn briodol, wedi troi yn fydolrwydd ynddi, gan ei suddo i ddi-deimladrwydd crefyddol. Dyben cyfoeth ydyw gwasan-aethu, a *gwas* rhagorol ydyw hefyd; ond dyma'r gwas yn y fan hon wedi myned yn arglwydd ar y galon a'r serch, a pherchenog y galon wedi ei ddiorseddu. "Eithr eich han-wireddau chwi a ysgarodd rhyngoch chwi a'ch Duw, a'ch pechodau a wnaeth iddo guddio ei wyneb oddiwrthych." Y mae fod Iesu o'i le yn gwneyd na fydd dim yn ei le. Pan fydd Iesu a'i ddodrefn oddiallan, bydd satan a'i eiddo oddi-fewn. Os wrth y drws y bydd Efe, bydd y gelyn ar yr orsedd, a dyna annhrefn!

II. YR ARGLWYDD IESU YN CYMHELL EI HUN I'W LE. "Wele, yr wyf yn sefyll wrth y drws ac yn curo."

Mae y cymhelliad i gyd-ddealltwriaeth yn dyfod oddiwrth y blaid dramgwyddedig; o du yr Arglwydd y mae y gwyn, oblegyd Efe dderbyniodd y cam. Gyrwyd Ef allan yn ddiachos, a chymhella ei hun i fewn heb wahoddiad. Pe ceid dynion mor awyddus i gael eu cadw ag ydyw Duw i wneyd hyny, fe gedwid pawb. Mae yr ymostyngiad hwn yn eithriad digyffelyb. "Brenin breninoedd ac Arglwydd arglwyddi," yn gweithredu swydd cardotyn. "Yn sefyll wrth y drws ac yn curo." Yn cymhell ei hun a'r cwbl a fedd ar y sawl a'i gwrthodasant. Er hyny, fe welir yma ei fod yn cydnabod rhyddid ewyllys ei ddeiliaid. Nid lleidr sydd wrth y drws, ond Brenin nad yw un amser yn arfer trais na gorfodiaeth yn y mater hwn. Gwirfoddoliaid yw ei holl ddeiliaid. "O'i wir ewyllys yr ennillodd Efe nyni trwy air y gwirionedd."

Nid nerth ei fraich sydd yn y golwg mewn Iachawdwriaeth, ond nerth ei galon yn gweithredu ar galonau. Hawdd iawn iddo, pe yr ewyllysiai, fyddai dyfod i'r eglwys fel yr aeth at y dysgyblion gynt, a'r drysau yn gauad, heb ofyn cenad neb, ond nid dyna ei reol. Gydag ewyllys ei bobl y mae yn arfer ei allu ac nid yn ei herbyn. Pan yn hollti tafod môr yr Aifft, yn parthu'r Iorddonen, yn atal olwyniad yr haul yn ei ddyddgylch, &c., yr oedd yn gweithredu yr un ffordd ag ewyllys ei bobl. "Gallu Duw" ydyw yr efengyl yn gweithredu ar alluoedd yr enaid, y serch, yr ewyllys, &c. "Yn ol y nerth sydd yn gweithredu *ynom* ni." "Canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da Ef." Adeg y gorfodi fydd dydd barn, ac y mae Duw yn ei drugaredd wedi gweled yn dda ohirio hwnw i'r dydd diweddaf—y dydd

fydd yn cyssylltu amser a thragywyddoldeb wrth eu gilydd.

Nid oes modd camsynied Iesu am neb arall, y mae nid yn unig yn curo, ond yn siarad hefyd. "Os clyw neb fy llais i." Dichon mai cyfeiriad sydd yma at arferion teithwyr yn y nos yn hysbysu eu henwau er cael derbyniad i'r tai. Pan ddaw dynion at ein drysau yn nhrymder y nos, y peth cyntaf a wneir fydd gofyn, "Pwy sydd yna?" Y mae eis ieu gwybod arnom a fydd ganddo neges, neu a fydd ganddo ryw *interest* yn y teulu, &c. Y mae yn nos ar Seion pan fydd Iesu o'r tu allan i'r drws, ac nid oes gobaith am oleuni nes y daw i fewn. Rhag iddi ei gam-gymmeryd am rywun arall, a meddwl mai lleidr neu ys-beiliwr fydd yno, y mae yn peri iddi adnabod ei lais. "Os clyw neb fy llais i." Dychwelodd cymmydog i ni unwaith o Awstralia, yr hwn a gyrhaeddodd ei hen gartref, ar ol bod yn absenol am ddeuddeg mlynedd, tua hanner nos. Wrth glywed curo ar y drws, cododd ei briod i'r ffenestr i ofyn pwy oedd yno. Adnabyddodd ei lais ar darawiad amrant, ac i lawr â hi trwy y tywyllwch i agor iddo, a'i gofleidio, &c. Y mae gan briod Seion lais a chenadwri sydd yn ei wahan-iaethu oddiwrth bawb ereill—llais a digon o swyn nefolaidd ynddo i ddystewi holl leisiau y greadigaeth. Na fydd greulon wrtho, Seion, cofia mai dy briod yw, a bod yn ei feddiant aur wedi ei buro drwy dân, fel y'th gyfoethoger; a dillad gwynion fel y'th wisger, ac fel nad ymddangoso gwarth dy noethder; a chan ei bod yn nos, a thithau wedi cysgu, y mae ganddo eli llygaid fel y gwelych. Ni bydd Iesu yn hir wrth y drws, ac etto nid yw am fyned ymaith, "sefyll" y mae. Mae perygl i anystyriaeth a difaterwch

ei yru yn mhellach, fel y pellhaodd gogoniant yr Arglwydd oddiwrth y cyssegr gynt o herwydd yr un peth. Bydd yn ofid calon ganddo fyned ymaith heb dderbyniad. "Pa fodd y'th roddaf ymaith, Ephraim? y'th roddaf i fyny, Israel? pa fodd y'th wnaf fel Admah? ac y'th osodaf megys Seboim? Trodd fy nghalon ynof, a'm hedifeirwch a gydgynneuwyd." Dyma iaith ar ei heithaf i osod allan dynerwch calon Duw, a'i hwyrfrydigrwydd i adael ei bobl.

Nid yw y gwaith ar ben yn y clywed, rhaid agor y drws. Pe byddai yr "agor" mor gyffredinol a'r "clywed," byddai yr eglwys yn llawn o Grist, a'r wlad yn llawn o ddynion yn ofni Duw ac yn cilio oddiwrth ddrygioni. Rhaid fod ei serch yn gryf, a'i gariad yn anngherddol, cyn y gwna "sefyll" cyhyd i gymhell ei hun; y mae ei ben yn wlyb gan ddiferion y tô, a'i wallt gan ddefnynau y nos, tra yn dywedyd, "Fy chwaer, fy anwylyd, fy ngholommen, fy nihalog, agor i mi."

Pa galon yn Seion mor galed na thôdd dan y fath weinidogaeth? Yn ngwyneb cariad fel hwn—cariad sy'n llewyrchu yn y nos, ac yn cadw ei wres yn yr oerni, dysgwylid iddi dori ar ei dystawrwydd, ac anfon gair yn ol gan ddywedyd fel Laban gynt wrth was Abraham, "Tyred i mewn, ti fendigedig yr Arglwydd; paham y sefi di allan? Canys mi a barotoais y tŷ." Byddai Seion ar ei hennill weithiau pe cymmerai ambell ddalen o lyfr y byd. Y mae teyrnasoedd y byd, wrth weled difrod a drygedd rhyfeloedd, yn deisebu o bob cẁr o blaid cyflafareddiad a heddwch. Pe deisebai eglwys y saint at Frenin heddwch a Thywysog tangnefedd, byddai y ddaear cyn hir yn llawn o wybodaeth

yr Arglwydd, a'i heddwch hithau fel afon, a'i chyfiawnder fel tònau y môr.

III. Fod cydymffurfiad yn sicrhau bendith. "Mi a ddeuaf i mewn ato Ef, ac a swperaf gydag Ef, ac yntau gyda minnau."

Nefoedd y byd hwn yw Iesu gyda dynion, a nefoedd y byd a ddaw fydd dynion gyda Iesu. Swper ydyw y pryd diweddaf ar y dydd, a hwn yn y Dwyrain oedd y prif bryd. Yn yr hwyr y cynnelid gwleddoedd yn y Dwyrain, a chedwid y danteithfwyd y rhan amlaf hyd fachludiad haul, am y byddai gwres a lludded y dydd yn lladd yr archwaeth.

Cymhell ei Fab ar y byd y mae Duw yn yr efengyl; a chan mai Efe yw y mwyaf a fedd, ni ddaw neb ar ei ol. Dyma oruchwyliaeth diwedd yr amseroedd, a diwedd y byd. "Ac yn ddiweddaf oll Efe a anfonodd atynt ei Fab ei hun." Bu ganddo oruchwyliaethau ereill, ond nid oeddent oll ond tameidiau i aros hwyr-bryd a mawr-bryd efengyl. "Ynddo Ef y mae holl 'gyflawnder y duwdod yn preswylio yn gorfforol." Dyma'r "Iachawdwriaeth gymmaint" y dywedwyd cymmaint am dani gan Dduw trwy y proffwydi, esgeulusdra o'r hon sydd yn arwain yn anocheladwy i golledigaeth yr enaid. Gwledd ar draul Crist ei hun ydyw. Y mae pob eglwys sydd heb Grist yn yr un cyflwr a Laodicea,—"yn druan, yn resynol, yn dlawd, yn ddall, ac yn noeth;" ond pan agorir iddo, daw a phob cyflawnder bendith i fewn gydag Ef. "Ac Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobloedd yn y mynydd hwn wledd o basgedigion, gwledd o loyw-win; o basgedigion breision, a gloyw-win puredig." Y mae crefydda yn rhagorfraint ber-

sonol hefyd. "Os clyw neb fy llais i," rhywun, ni waeth pwy fyddo. Nid yw yr unigolion i gael eu difreintio o gymdeithas Iesu o herwydd anystyriaeth y lluaws. "Os clyw neb." Gall y brawd neu y chwaer unigol wledda ar fendithion rhad ras er i bawb ereill yn yr oedfa newynu yn ei ymyl. Diolch am grefydd gymdeithasol; ond pe dygwyddai rhyw chwildroad yn yr Eglwys, mor ddedwydd y syniad mai mater personol rhwng y dyn ei hun a'i Dduw ydyw gwir grefydd. "Os clyw neb," &c. Mae yma addewid o gyd-wledd,—"gydag Ef ac yntau gyda minnau.' Mae y credadyn yn yr ymwybodolrwydd o'i dlodi yn gofyn yn fynych, "A pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd, ac yr ymgrymaf ger bron yr uchel Dduw." Ond na ddigalona, Gristion; os wyt ti yn foddlon ar ei drugaredd Ef, mae yntau yn foddlon ar dy ddagrau dithau. Gwledd Iesu ydyw edifeirwch dyn; y mae llawenydd am hyn drwy yr holl nefoedd; a gwledd dyn,ydyw maddeuant a gras Iesu: "Diwalla ni a'th drugaredd, fel y gorfoleddom ac y llawenychom dros ein holl ddyddiau." "Agor iddo,' bechadur, oblegyd "trwy y byd ei ail ni fu."

# PREGETH XVII.

---

## PARHAD YR ADDEWID YN SAIL I YMDRECH GREFYDDOL.

"Ofnwn gan hyny, gan fod addewid wedi ei adael *i ni* i fyned i mewn i'w orphwysfa Ef, rhag bod neb o honoch yn debyg i fod yn ol."—Heb. iv. 1.

MAE yr Epistol at yr Hebreaid yn cynnwys lluaws mawr o gyferbyniaethau a chydmariaethau; hyny, gan mwyaf, yn nghyd â'r casgliadau a dynir oddiwrthynt, ydyw baich ei gynnwysiad. Yn mysg pethau pwysig ereill, ceir Crist a Moses yn cael eu dal ar gyfer eu gilydd; hâd Abraham trwy ffydd, a hâd Abraham yn ol y cnawd; taith Israel trwy yr anialwch, a thaith pererinion Seion trwy y byd; gorphwysfa y genedl yn Nghanaan, a gorphwysfa dragywyddol y saint yn y nef, &c. Mae hanes y genedl Iuddewig a hanes yr eglwys Gristionogol mewn rhai pethau yn debyg i'w gilydd, tra mewn pethau ereill y maent yn annhebyg.

*Rhai o'r pethau annhebyg.*

(1.) Gwaredigaeth dymhorol oedd eiddo y genedl.—Tymhorol oedd ei gelynion, dynol oedd ei harfau, gwaedlyd oedd ei brwydrau, daearol ac amserol oedd ei hetifeddiaeth,

&c. Yr eglwys Gristionogol yn wahanol ; nid rhyfela yn erbyn gwaed a chnawd y mae hi, ond yn erbyn ysbrydion ac egwyddorion. "Oblegyd nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol-lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd." "Canys er ein bod ni yn rhodio yn y cnawd, nid ydym yn milwrio yn ol y cnawd ; canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr." (Eph. vi. 12 ; 2 Cor. x. 3, 4.) Pechod yn mhob ffurf o hono ydyw nôd ei hergydion, &c.

(2.) Gorfu i Israel ryfela ar ol cyrhaedd pen ei thaith.—Yr oedd y wlad addawedig yn llawn o elynion iddi, ac ni chafodd orphwysdra nes ei glanhau o honynt, &c. Nid felly gorphwysfa y saint ; gwlad lawn o rai tebyg fydd hono, pawb yn un heb neb yn annghydweled ar unrhyw fater. Bydd yr ergyd diweddaf am byth wedi ei daro yr ochr hyn i'r afon, diosgir y credadyn o'i arfogaeth yn awr olaf bywyd, ac ar darawiad amrant, newidir ei gyweirnod o'r lleddf i'r llon.

(3.) Yr oedd cenedl Israel yn agored i bechu ar ol cyrhaedd ei gwlad.—Pechodd lawer ar y ffordd yn nghanol pob arwyddion o bresenoldeb y Goruchaf, ond mwy, pe buasai le, wedi myned i Ganaan, &c. Ond y mae hyny o bechod sydd yn hanes y saint yn terfynu yn yr anialwch. Nis gallant bechu, mwy nag y gallant farw mwy. Sychir eu gruddiau gan Dduw, ac ni wlychir hwy drachefn gan bechod. "Ac fe sych Duw ymaith bob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt ; a marwolaeth ni bydd mwyach, na thristwch,

na llefain, na phoen ni bydd mwyach." (Dat. xxi. 4.) Pan symmudir yr achos, fe symmudir yr effaith yr un pryd, &c.

(4.) Darfu i Israel golli Canaan ar ol ei chael. Crwydriaid digartref ydyw yr Iuddewon yn mysg holl genedloedd y ddaear, heb ond ychydig o gyfeillgarwch rhyngddynt â phobl ereill, a'u gwlad yn cael ei meddiannu gan estroniaid. Ac ofer yn ddiau y breuddwydiant am ddychwelyd drachefn; ond cael nefoedd unwaith fydd ei chael am byth. Nid oes mynedfa iddi ond o'r ddaear, na mynedfa o honi i un lle. Y mae ambell ddrws yn agor bob ffordd, ond drws y nefoedd un ffordd,—tuag i fewn. "Yr hwn sydd yn gorchfygu, mi a'i gwnaf ef yn golofn yn nheml fy Nuw i, ac allan nid â efe mwyach." (Dat. iii. 12.) Pwy na ddymunai am dderbyniad i'r ddinas nad oes un cyfaill yn ymadael o honi, nac un gelyn yn dyfod i mewn iddi? &c.

*Rhai o'r pethau tebyg yn eu hanes.*

(1.) Yr oedd Israel wrth adael yr Aifft yn cefnu ar gaethiwed ac yn gwynebu ar ryddid; felly y saint. "I ryddid y'ch galwyd." "A gwaredigion yr Arglwydd a ddychwelant, ac a ddeuant i Seion â chaniadau, ac â llawenydd tragywyddol ar eu pen; goddiweddant lawenydd a hyfrydwch, a chystudd a galar a ffŷ ymaith." Y gwahoddiad i bob un ffyddlon fydd, "Dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd," a'i lawenydd ni ddwg neb oddiarno.

(2.) Gwaredwyd Israel trwy gyfryngiad dwyfol.—Yr Arglwydd a glybu ei llef ac a drefnodd ymwared. Yr oedd Pharaoh a'i lu yn drech nâ'r genedl, ond pwy a ymgaledodd yn erbyn yr Arglwydd ac a lwyddodd? Felly etto; Duw

garodd y byd, ei Fab fu farw yn iawn dros ei bechodau, a'i Ysbryd sydd yn ei argyhoeddi o bechod, &c.

(3.) Cyfarfyddodd Israel â lluaws o elynion a gwrthwynebiadau rhwng yr Aifft a Chanaan, ond yn nerth ei Duw gorchfygodd hwynt oll, &c. Hyn hefyd ydyw hanes yr eglwys. "Yn y byd gorthrymder a gewch." "A phawb ar sydd yn ewyllysio byw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, a erlidir." "Eithr cymmerwch gyssur, mi a orchfygais y byd," &c.

(4.) Yr oedd mynediad Israel i Ganaan yn ammodol. Nid oedd gadael yr Aifft a gwel'd boddi'r gelynion yn y môr yn sicrhau ei mynediad dros yr Iorddonen. Os am feddiannu y wlad a lifeiriai o laeth a mêl, a bwyta o ddaioni y tir, rhaid oedd bod yn ufudd ac ewyllysgar ar y ffordd tuag yno. "Os byddwch ewyllysgar ac ufudd, daioni y tir a fwytewch; ond os gwrthodwch, ac os anufuddhewch, â chleddyf y'ch ysir; canys genau yr Arglwydd a'i llefarodd." (Es. i 19, 20.) Ond am na buont ffyddlon, &c., digiasant yr Arglwydd, a syrthiasant yn yr anialwch.

Y mater pwysig hwn sydd yn cael sylw yr awdwr yn niwedd y bennod flaenorol a dechreu hon. (Gwel pen. iii. 16—19.) Mae Paul yma (efe, yn ol ein barn ydyw yr awdwr,) yn cymmeryd achlysur, oddiwrth hanes ymdaith y genedl, i osod ei frodyr crefyddol ar eu gocheliad, rhag dygwydd iddynt hwythau yr un peth, ond mewn ystyr anfeidrol bwysicach. "Ofnwn gan hyny," &c.

I. Cymmeriad yr orphwysfa.

Gelwir hi yma "ei orphwysfa *Ef*." Y mwynhad cyflawn hwnw a gyfyd yn yr enaid cadwedig oddiwrth bresenoldeb digyfrwng a thragywyddol y Jehofa mawr. Cynnwysa yn

(1.) *Debygolrwydd perffaith i'r Arglwydd.* Nid yw sefyllfa bresenol y Cristion o'i chymharu â'r ddyfodol, ond fel toriad gwawr i ganol-ddydd haf. Y mae gwŷn a du, goleuni a thywyllwch yn y wawr, ond goleuni heb *ddim* tywyllwch ydyw canol dydd, &c. Ni fydd dim o bresenol y y credadyn yn gallu bodoli yn ei ddyfodol, ond hyny o burdeb a santeiddrwydd sydd ynddo; bydd y blinder, y llygredd, y dagrau, a phob llwchyn o bechod a lynodd wrtho yn y byd hwn, yn myned ymaith gyda lli' yr afon. Bydd mor debyg i'w Geidwad fel y bydd yn canfod ei hun wrth edrych yn ei wyneb. Bydd cofio beth ydoedd, ac o ba le y daeth, a gwel'd yr hyn a fydd, yn peri iddo ddiolch byth am y gras a'i cyfnewidiodd i ddelw ei Arglwydd, &c.

(2.) *Bodolaeth barhaus gyda'r Arglwydd.* "Cartrefu gyda'r Arglwydd," a "bod yn wastadol gydag Ef," ydynt rai o enwau Paul ar ddyfodol y credadyn. Oedfaon byrion sydd fwyaf dewisol yn bresenol, a'r rhai hyny heb fod yn fynych iawn. Yn y gauaf cwynir ei bod yn rhy oer, ac yn yr hâf ei bod yn rhy boeth. Bydd y corff yn blino o flaen yr enaid. Ond yno, ceir corff ac enaid yn cyfateb i'w gilydd, a'r rhai hyny yn ddigon cryf i ddal tragywyddol bwys gogoniant. Bydd presenoldeb parhaus yr Arglwydd yn cadw'r lle yn dymherus am byth. Anrhydedd fwy nâ bod gyda'r Arglwydd nis gall dyn ei dymuno, na Duw ei rhoddi. Rhy brin y llenwir dymuniad neb yn y byd hwn; cynnwysa hwn fyd cyfan, a mwy, &c. Ond anmhossibl i *ddymuno* dyn fyned tu hwnt i *roddi* Duw. "Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant Ef." Bydd darpariadau Duw ar y blaen i angenion dyn yn dragywydd,

ond tybiwn nas gall *rhoddi* Duw gyrhaedd yn uwch na'r orphwysfa sydd ynddo Ef ei hun, &c.

(3.) *Cyflawn fwynhad o'r Arglwydd.* Y mae fod ein hannebygrwydd i'r Arglwydd yn fawr yn peri fod ein mwynhad o hono yn fychan; ond bydd y lle ag y mae pechod yn feddu yn bresenol yn rhydd y pryd hwnw i ddal cyflawn fwynhad o Dduw. Pe byddai hyny o allu sydd gan ddyn yn bresenol, er ei fod yn anmherffaith, yn cael ei ddefnyddio i un dyben, byddai yn fawr iawn. Mae y gallu sydd ynom yn doredig a rhanedig i fwy nag un gwaith, megys gofalon teuluaidd, gwasgfeuon amgylchiadau, dyoddefaint corfforol, &c. Ond yn yr orphwysfa sydd yn ol i bobl Dduw, bydd ein gorchwyl yn unplyg—bydd y galluoedd gwasgaredig wedi eu casglu yn nghyd i fwynhau golygfeydd byth-barhaol y byd tragywyddol, &c. Ond faint bynag fydd y *gallu* i fwynhau, bydd defnydd y mwynhad yn gymmaint a hyny.

"Rhyw newydd wyrth o'i angeu drud
A ddaw o hyd i'r goleu."

II. FOD FFORDD AGORED I'R ORPHWYSFA. "Gan fod addewid wedi ei adael."

Dywedir fod y ferf "gadael" yn arwyddo fod yr un addewid ag a roddwyd iddynt hwy yn cael ei hestyn a'i threiglo i lawr i ninnau. Er iddynt hwy golli yr addewid a meirw heb dderbyn ei chynnwys, y mae wedi ei gadael i ni fel testament cyfoethog gan yr Arglwydd. Fel y cadwyd gorphwysfa Canaan yn agored i'r credinwyr, er cau anghredinwyr allan; felly etto, yn ngwyneb pob cyfnewidiad ar fyd ac eglwys, fe erys Duw yn ffyddlon i'r ffyddloniaid. Nid unrhyw ddiffyg yn yr addewid barodd i gynnifer fethu

cyrhaedd yr orphwysfa, ond annghrediniaeth o'u tu hwy. Wrth grybwyll am ragorfreintiau yr Iuddewon, gofyna Paul, "oblegyd beth os annghredodd rhai? a wna eu hannghrediniaeth hwy ffydd (ffyddlondeb) Duw yn ofer?" (Rhuf. iii. 3.)

Ni ddarfu i anffyddlondeb y difater a'r esgeulus ddirymu cyfammod yr Arglwydd i'r ffyddloniaid, na pheri iddo alw yr addewid yn ol. Gan ei fod yn annghyfnewidiol, y mae yr addewid mewn grym, a'r orphwysfa yn sicr i bawb a ymestynant am dani. Nac annghofier fod yr addewid i fyned i mewn yn gyplysedig wrth ufudd-dod i Dduw. Fel yr oedd gynt y mae etto. Arweinia hyn at y sylw olaf, sef,

III. Yr agwedd meddwl a gymhellir arnom gyda golwg ar ein mynediad i'r orphwysfa. "Ofnwn gan hyny."

Gwelir yma ddrygedd annghrediniaeth yn nghyfrif Duw. Sylwn yn

(1.) *Nad ydyw annghrediniaeth yn bechod cyffredinol.* Ni wna annghrediniaeth fodoli ond yn hinsawdd datguddiad o Dduw. Lle bynag nad yw tystiolaeth Duw am ei Fab yn cael ei chyhoeddi heddyw, ni ddelir y trigolion yn euog o annghrediniaeth. Wrth ba reol y bernir paganiaid y pegynau, ni wyddom; ond sicr ydym na wneir hyny wrth ddeddf datguddiad, os nad ydyw yn eu meddiant. Llysieuyn drwg yn tyfu mewn daear dda ydyw annghrediniaeth; rhaid iddo wrth ddaear, awyr, a goleuni efengyl, cyn y gwna dyfu a blaguro. Anffawd yn ein hanes oedd ein geni yn ngwlad y Beibl, os myned o honi a wnawn yn wrthodwyr o Fab Duw.

(2.) *Annghrediniaeth sydd wrth wraidd pob pechod arall yn ngwlad efengyl.* Crybwyllir weithiau am brif bechod, a phechod poblogaidd yr oes; ond y mae yn amheus genym a ddeuir o hyd iddo nes disgyn ar annghrediniaeth. Calon ddrwg annghrediniaeth sydd yn ymado oddiwrth Dduw byw, ac unwaith y gwneir hyny, y Duw byw yn unig a wyr pa le yr aroswn, a pha beth a ddaw o honom. Cynghorir ni yn y papyrau weithiau i ddweyd mwy yn erbyn anudoniaeth, anniweirdeb, &c., gan awgrymu mai hwynt-hwy ydynt brif bechodau y wlad a'r oes. Addefwn nad oes modd dweyd gormod yn eu herbyn; ond pe llwyddid i'w hymlid oll o'r wlad, ni fyddai hyny wedi'r cwbl ond tori ychydig ar geinciau y pren, ar yr hwn y tŷf yr holl bechodau, ac er parhau i dori, bydd y drwg yn aros hyd nes y dadwreiddir y pren. Y mae yr annghredadyn yn amcanu at ysbeilio y Goruchaf o un o berlau dysgleiriaf ei gymmeriad—ei wirionedd. "Yr hwn a dderbyniodd ei dystiolaeth Ef a seliodd mai geirwir yw Duw." Gwirionedd Duw ydyw un o'r colofnau cadarnaf sydd yn dal yr orsedd dragywyddol odditano. Ei wirionedd fel Creawdwr ydyw y gwregys sydd yn dal y greadigaeth yn ei chyfanrwydd, a'i wirionedd fel Achubwr ydyw calon a bywyd yr Iachawdwriaeth. Y mae Efe mor eirwir ei hun, fel y mae yn caru gwirionedd oddimewn yn mhawb ereill. Y mae yr annghredadyn yn gwneyd ei oreu i dirio dan sail y golofn hon, trwy geisio ei wneyd Ef yn gelwyddog.

(3.) *Annghrediniaeth yn unig sydd yn cau o'r nefoedd.* Pa mor lluosog a mawr bynnag oedd pechodau y genedl yn yr anialwch, annghrediniaeth yn unig a'i rhwystrodd i Ganaan. "Yr ydym ni yn gweled na allent hwy fyned i

mewn o herwydd annghredinaeth." Medr Duw fyned heibio i anwiredd, camwedd, a phechod, ond y mae annghrediniaeth yn llenwi'r ffordd mor gyflawn fel nad oes modd i Dduw basio heibio iddo er atal yr annghredadyn i uffern. Nid oes anhawsder o du y nefoedd i faddeu. Gwaith hawdd fyddai gwella yr afiach oni bai fod annghrediniaeth yn gwrthod y meddyg; gorchwyl buan fyddai cyfiawnhau yr euog oni bai fod annghrediniaeth yn diystyru yr aberth; annghrediniaeth sydd yn gwrthod y ffynnon, ac yn bolltio pyrth y nef yn erbyn ei pherchenog.

"*Ofnwn gan hyny.*" Mae yr ymadrodd "gan hyny" yn dangos fod diffygion mewn ereill wedi eu bwriadu yn rhybudd i ni. Perthyna i'n rheilffyrdd ddau fath arbenig o oleuni—y gwyn a'r coch. Arwydda y gwyn ddyogelwch, a ffordd glir i yru yn y blaen; ond y coch a ddywed am aros, fod perygl ger llaw. Cyffelyb i hyn ydyw y testyn. Ar un llaw dyma'r goleuni gwyn yn y golwg yn mynegu fod addewid wedi ei adael i ni, a bod yr orphwysfa yn agored a dirwystr, &c. Ar y llaw arall dyma'r goleuni coch i fyny, yn arwyddo perygl i fod yn ol—fod rhai wedi gwneyd llongddrylliad am y ffydd, a methu myned i mewn o herwydd annghrediniaeth, &c.

"*Ofnwn gan hyny.*" Nid ofni Duw, yr addewid, na'r orphwysfa; ond ofni ein hunain, fod ynom galon ddrwg annghrediniaeth gan ymado oddiwrth Dduw byw; ofn cyffelyb i hwnw sydd yn gyru yr afiach at y meddyg, sydd yn cynnyrchu ymholiad parhaus yn meddwl y teithiwr am y ffordd iawn, sydd yn peri fod y morwr ar ei wyliadwriaeth nos a dydd rhag taro yn erbyn y graig. Chwiliwn ein hun-

ain, a oes arwyddion bod yn ol ynom. Nid ydyw bod yn ol heb ei arwyddion; ei ragredegwyr ydynt glaearineb crefyddol, anffyddlondeb i foddion gras, proffes o grefydd heb ei gwirionedd oddimewn, &c. Bydded ein bywyd yn gyfryw, fel, yn lle tebyg i fod yn ol, y caffom fynediad helaeth i lawenydd ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist.

# PREGETH XVIII.

## Y DYNGARWR DWYFOL.

"Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad; ac nid edwyn neb y Mab ond y Tad; ac nid edwyn neb y Tad ond y Mab, a'r *hwn* yr ewyllysio y Mab *ei* ddatguddio iddo. Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch. Cymmerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf; canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon; a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau. Canys fy iau *sydd* esmwyth, a'm baich sydd ysgafn."—Math. xi. 27—30.

YR Arglwydd Iesu Grist oedd y pregethwr mwyaf yn mhob ystyr a welodd y byd erioed. Heblaw y medrai lefaru yn wahanol i bawb, yr oedd hefyd yn gallu ategu ei holl ddysgeidiaeth â gweithredoedd nerthol. Nid bob amser, er hyny, y byddai ei weinidogaeth yn llwyddo i ennill dynion i gredu ynddo; gorfodid Ef yn fynych i ryfeddu o herwydd eu hannghrediniaeth, ac edliw iddynt eu calon galedwch. Y mae yn bod felly arno yn y cyssylltiad hwn. Y mae yn bresenol ar ymweliad a phentrefi prydferth glàn môr Galilea, Capernaum, Chorazin, a Bethsaida. (Adn. 20.) Yn y cymmydogaethau hyn yr oedd tri o'i ddysgyblion yn byw, Phylip, Andreas, a Phedr; ac yma y cyflawnodd y rhan luosocaf o'i weithredoedd nerthol.

Oddiwrth y trigolion hyn gan hyny yn anad neb y dysgwyliai am yr arwyddion amlycaf o edifeirwch, a ffydd ynddo ei hun. Pwy ddysgwylir i ddwyn ffrwythau addas i ddiwygiad ond y bobl fydd wedi cael manteision i hyny ? I ba gyfeiriad yr edrychwn am lwyddiant ar yr Efengyl ? Nid at baganiaid India, anwariaid Affrica, ac eilunaddolwyr Japan ; ond at drigolion Prydain, gwlad y Beiblau, y gweddïo, &c., ac yn enwedig ein cenedl ein hunain. Ond y mae yr hanes dan ein sylw, a sylwadaeth yn ein dysgu mai fel arall yn fynych y dygwydda. (Adn. 20.)

Anfynych, er hyny, y mae pob drws yn cau ar unwaith. Peth dymunol, pan fydd yn dywyll o un cyfeiriad, ydyw ei bod yn oleu o gyfeiriad arall. Pan oedd drws y carchar yn gauedig ar Pedr, yr oedd drws y nefoedd yn agored i weddi ddyfal yr eglwys. Os ydyw i raddau yn dywyll yn awr ar Iesu yn ei berthynas â dynion, y mae yn oleu clir rhyngddo ag i fyny ; y mae ei Dad ac yntau mewn perffaith gydddealltwriaeth. (Adn. 25, 26.) Ni raid cywilyddio troi at yr Arglwydd mewn aflwyddiant, os na bydd yr achos o hono wrth ein drws ni. Hwn ydyw y tro cyntaf, hyd y gwyddom, i'r Iesu anerch ei Dad yn nghlyw ereill, ac fel y troion dilynol, awgryma gynhyrfiad santaidd ei feddwl yn ngwyneb pwysigrwydd ei waith, ac anystyriaeth dynion. (Gwel Ioan xi. 41 ; xii. 28.) Paham yr oedd Duw yn "cuddio y pethau hyn oddiwrth y doethion a'r rhai deallus," nid ydym yn sicr, os nad i'r dyben o gau allan orfoledd dynion yn nhrefn Iachawdwriaeth, ac i'r ymffrost fod o'r Arglwydd. "Canys yr ydych chwi yn gweled eich galwedigaeth, frodyr, nad llawer o rai doethion yn ol y cnawd, nad llawer o rai galluog, nad llawer o rai boneddigion, a

alwyd. Eithr Duw a etholodd ffol-bethau y byd, fel y gwaradwyddai y doethion ; a gwan-bethau y byd a etholodd Duw, fel y gwaradwyddai y pethau cedyrn ; a phethau distadl y byd, a phethau dirmygus, a ddewisodd Duw, a'r pethau nid ydynt, fel y diddymai y pethau sydd ; fel na orfoleddai un cnawd ger ei fron Ef." (1 Cor. i. 26—29.) Yr unig esboniad a geir ar lawer o bethau yn y byd hwn, ydyw mai felly y rhyngodd bodd i'r Arglwydd. Gall cofio hyn fod yn gymhorth i ymgymmodi y meddwl a phrofedigaethau chwerwon yr anial. "Beth os annghredodd rhai, a wna eu hannghrediniaeth hwy ffydd Duw yn ofer? Na ato Duw." Mae yr awdurdod yn aros byth yn meddiant Iesu, ac yno y bydd hefyd. "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad," &c.

Dengys y testyn fod yn yr Arglwydd Iesu gymhwysderau neillduol fel gwahoddwr ac ymgeleddwr pechaduriaid. Y mae yr iaith a arferir y fath, yn ei heangder a'i chynnwysiad, na feiddiasai neb ond un yn meddu ar gymhwysderau anfeidrol ei defnyddio, heb fod yn euog o gabledd.

I. Fod awdurdod Crist yn ddwyfol roddedig iddo. "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad." (Adn. 27.)

Pan grybwyllir am Grist yn derbyn unrhyw beth gan y Tad, dylid cadw mewn cof mai fel Cyfryngwr y sonir am dano y pryd hwnw ; megys, rhoddi pob awdurdod iddo yn y nef ac ar y ddaear, rhoddi dynion iddo allan o'r byd, derbyn gorchymmyn gan ei Dad, &c. Fel Cyfryngwr hefyd y sonir am dano pan yn rhoddi i'r Tad. "Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear, mi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur." "Yna y bydd y diwedd, wedi y rhoddo Efe y

deyrnas i Dduw a'r Tad; wedi iddo ddileu pob pendefigaeth, a phob awdurdod a nerth." Yr oedd y pob peth a roddwyd iddo gan y Tad yn gymhwysder iddo wahodd pawb ato. Meddai y Tad bob peth; geilw Crist Ef yma yn "Arglwydd nef a daear." Y mae ganddo hawl i drefnu fel y myno, ac i roddi neu atal fel yr ewyllysio, &c. Os oedd y Tad yn ddigon haelfrydig i *roddi* pob peth i'r Mab, yr oedd y Mab yntau yn ddigon mawr i *dderbyn* a chynnwys pob peth y Tad, yr hyn, debygem, sydd yn profi ei fod yn gymmaint â'r Tad, ac felly yn Dduw ei hun. Yn ngrym y "pob peth a roddwyd iddo" y gallodd anfon ei apostolion i'r holl fyd i bregethu yr efengyl, gan addaw bod gyda hwynt hyd y diwedd. Nid oes modd cyfrif am helaethrwydd y gwahoddiad hwn, ond yn ngoleuni y pob peth a roddwyd iddo. Nid oes perygl i'r achos droi yn fethiant tra fyddo gan Iesu law yn ei lwyddiant, oblegyd "rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo Ef."

Yr oedd adnabyddiaeth rhwng y Personau Dwyfol â'u gilydd—adnabyddiaeth gyflawn o'r ddwy ochr. Y mae Duw yn ein hadwaen ni yn drylwyr—ein heisteddiad a'n cyfodiad. Nid oes air ar ein tafod, na bwriad yn ein calon nad yw Ef yn hysbys o hono; ond hynod mor gyfyng ydyw ein gwybodaeth ni o hono Ef. Hyn barodd y gofyniad, "I bwy, gan hyny, y cyffelybwch Dduw, a pha ddelw a osodwch iddo? Y crefftwr a dawdd gerf-ddelw, a'r eurych a'i goreura, ac a dawdd gadwyni arian. Yr hwn sydd dlawd ei offrwm a ddewis bren ni phydra; efe a gais etto saer cywraint i barotoi cerf-ddelw, yr hon ni syfl." (Esa. xl. 18—20.) Ond yma yr oedd perffaith adnabyddiaeth o'r ddau tu. Gwyddai y Mab am ddyfnderoedd anhysbydd-

adwy y bwriadau grasol oedd yn gronedig yn nghalon y Tad at hil syrthiedig Adda, a gwyddai y Tad am y gallu anfeidrol oedd yn y Mab i gario allan y cynlluniau tragywyddol yn Iachawdwriaeth y ddaear. Nid oes perygl i gamsynied na gwrthdarawiad gymmeryd lle byth yn ngwahanol ranau y drefn, gan fod y Tad a'r Mab mewn dealltwriaeth mor berffaith â'u gilydd. Y mab ydyw cyfrwng datguddiad y Tad i ddynion. Nid oes modd gweled, deall, na dynesu at Dduw ond trwy gyfryngau. "Ni welodd neb Dduw erioed; yr unig-anedig Fab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnw a'i hysbysodd Ef." (Ioan i. 18.) "Myfi yw y ffordd a'r gwirionedd, a'r bywyd; nid yw neb yn dyfod at y Tad, ond trwof fi." (Ioan xiv. 6.) Y mae Duw yn yr oll a fedd mewn Iachawdwriaeth yn dyfod yn eiddo i ddyn ar ei dderbyniad o'i anwyl Fab. "Y neb a'm gwelodd i, a welodd y Tad," &c.

II. Ei adnabyddiaeth o gyflwr y ddynoliaeth.

Cyn bod yn Gyfryngwr addas rhwng Duw a dynion, yr oedd yn angenrheidiol iddo fod yn adnabyddus o'r ddwyblaid. Gan mai Duw a dynion oedd yn y cweryl, yr oedd galwad am Dduw a dyn i gyfryngu rhyngddynt, ac yn y "dyn Crist Iesu" llwyddwyd i gael "dyddiwr" allodd osod ei law arnom ein dau. Nid yn unig y mae yn adwaen y Tad, fel y sylwyd, ond Efe a'n hadwaen ninnau yn well nag yr adwaenom ein hunain. Gwyr am luosogrwydd y blinderau, am drymder y beichiau sydd yn llethu yr enaid i ddyfnderoedd anobaith, &c. Cymmerai gryn amser i ni fynegu ein holl helyntion, ac er gwneyd ein goreu, diangai aml un ein sylw. Ond nid oes modd i gymmaint ag un ddianc ei sylw Ef, oblegyd fe'u cyfrifwyd oll arno pan yn

marw ar y groes. Pa le, tybed, y cafodd y Duw mawr reswm dros gymmodi y byd ag Ef ei hun heb gyfrif iddynt eu pechodau? &c. Onid yn y cyfrif manwl fu ar wahoddwr pechaduriaid yn Nghalfaria? &c. Medda adnabyddiaeth brofiadol o gyflwr y ddynoliaeth. Er na phechodd ei hun, ni chyflawnwyd pechod o Adda hyd yn awr nag y darfu iddo Ef ddyoddef o'i herwydd. "Efe yw yr iawn dros ein pechodau ni; ac nid dros yr eiddom ni yn unig, eithr dros bechodau yr holl fyd." (1 Ioan ii. 2.) Yr hen longwr profiadol sydd yn gwybod oreu am beryglon y môr yn ei dywydd ystormus, a'r milwr fu o flaen y magnelau wyr oreu am boethder ac enbydrwydd maes y gwaed; ond am helyntion *pawb* yn eu cyflwr dirywiedig, 'does neb yn eu gwybod fel yr hwn y rhoddwyd cosbedigaeth ein heddwch ni arno.

III. Ei allu i gyfarfod a thrueni y ddynoliaeth.

Y mae hwn yn wahoddiad i bawb a deimlant eu bod yr hyn ydynt, "blinderog a llwythog." Ni buasai y Ceidwad yn rhyfygu galw sylw mor gyffredinol ato ei hun oni buasai fod ynddo allu i esmwythau. Daw i'r golwg yma yn ei dair swydd,—fel Brenin, Proffwyd, ac Offeiriad.

(1.) *Fel Brenin.* Fel Brenin y mae yn cymhell dynion dan yr iau, a bod dan yr iau ydyw bod dan lywodraeth, ac yn ngwasanaeth rhywun mewn awdurdod. Y mae Crist yn meddu hawl i'n gwasanaeth, a'n dyledswydd ydyw cymmeryd i fyny y groes, ei ddilyn, ac ymostwng iddo. Dywed fod ei iau yn esmwyth. Gwir fod y cyflwr hwn yn cynnwys caethiwed, ond caethiwed a rhyddid ynddo ydyw. Y mae miloedd yn y byd heddyw sydd yn yr harnais er ys

llawer o flynyddoedd ; gofyner iddynt eu profiad,—a ydyw yr iau yn eu dolurio? A ydynt yn blino ac yn ymollwng dan y baich? Eu hateb ydyw, "Ei orchymmynion Ef nid ydynt drymion." "Pa beth," medd Bernard, "all fod yn ysgafnach na'r baich sydd yn cymmeryd ymaith yr holl feichiau, ac yn esmwythach na'r iau sydd yn cario y sawl sydd yn ei dwyn?"

Dywedodd rhywun wrth bysgotwr unwaith, yr hwn a gariai ei gorwgl ar ei gefn tua chartref, "Yr ydych yn gweithredu o chwith, y corwgl ddylasai eich cario chwi." Ei ateb oedd, "Mae y corwgl a minnau yn deall ein gilydd, ac yr ydym yn gweithio bob yn ail; yr wyf fi yn ei gario ef ar y tir, ac yntau yn fy nghario i ar yr afon." Gyffelyb i hyn ydyw y Cristion a'r groes; efe sydd yn cario y groes hyd at lan yr afon, ond yno bydd y groes yn ei gludo ef drosodd i gyfandir y bywyd tragywyddol. Rhywbeth o'r un natur ydyw y pennill hwnw,—

> "Dan gario'r groes yn mlaen yr awn,
> Y groes ddywedodd Ef a gawn;
> Ond dyma gyssur f'enaid gwan,
> Try'r groes yn goron yn y man."

(2.) *Fel Proffwyd.* Un gwaith perthynol i'r proffwyd ydoedd dysgu. "Dysgwch genyf." Oes enwog am ddysgu gwahanol gangenau gwybodaeth ydyw hon. Y mae llawer drwy eu dysgeidiaeth wedi hanner ynfydu. Yr unig ysgol ar y ddaear yn yr hon y gwneir y gwirion yn ddoeth i Iachawdwriaeth ydyw ysgol gras, a'r unig athraw fedr wneyd hyny ydyw y Proffwyd mawr. Dysgeidiaeth uffern (medd un) a ddygodd uffern i'n rhan, a dysgeidiaeth Crist a ddwg y nefoedd i ni yn etifeddiaeth. Y mae person a gwaith

Crist yn bethau i'w dysgu, ac Efe ei hun yn unig sydd alluog i roddi adnabyddiaeth o hono ei hun. Bydd aml i bererin ar ol cyrhaedd gogoniant, yn synu byth at y cynnydd fydd wedi ei wneyd yn yr ysgol hon, &c.

(3.) *Fel Offeiriad.* Fel offeiriad y mae yn esmwythau ar ein doluriau. "Mi a esmwythaf arnoch." Tra bydd pechod heb ei faddeu, a'r euogrwydd heb ei symmud, ni bydd yn bossibl cael esmwythdra; ond na ddigaloned neb, "Gwaed Iesu Grist ei Fab Ef sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod." "Deuwch ataf fi bawb," ofer myned at neb arall. Ofer i'r Pabydd fyned i'r gyffes-gell, i'r Mormon fyned i Utah, i'r Mahometan fyned i Mecca, &c,, heb iddynt fyned at Grist yn gyntaf, a bydd eu mynediad at Grist yn gwneyd eu mynediad i'r lleoedd hyn yn ddiangenrhaid. A Christ a digon, heb Grist heb ddim.

IV. Fod yr hyn yw Crist ynddo ei hun yn gymhwysder iddo wahodd ac yn gymhelliad i ninnau wrandaw. "Canys addfwyn ydwyf a gostyngedig o galon."

Yr oedd ei hunan-ddarostyngiad o'r nefoedd i'r ddaear yn profi ei ostyngeiddrwydd, a'i waith yn maddeu heb edliw yn profi ei addfwynder. Ei ostyngeiddrwydd a ymddangosodd yn benaf pan gymmerodd ein natur ni i undeb â'i berson dwyfol, a'i addfwynder pan yn nyfnder ei ddarostyniad y cymmerodd ei arwain fel "Oen i'r lladdfa," ac, o'r fan hono y gweddïodd dros "y rhai trwy ddwylaw anwir a'i croeshoeliasant." Tyr'd ato, bechadur, fel yr wyt. Efe a edrycha yn dy wyneb mor addfwyn wrth faddeu dy feiau ag yr edrycha yn ngwyneb yr angel na throseddodd ei ddeddfau erioed. "Addfwyn a gostyngedig o galon" ydyw.

Beth bynag oedd mewn ymddangosiad, hyny ydoedd o galon. Nid oedd plygion yn perthyn iddo ; ond yr oedd yn hawdd darllen ei galon wrth edrych yn ei wyneb.

Anwyl bobl, pa le y chwiliwch am orphwysfa ? Ai mewn pleserau gau ? Ai mewn cyfoeth bydol ? Gwyliwch gamgymmeryd y cyfeiriad. Y mae rhyw angel yn mhob lle o'r tu allan i Grist, fel wrth y bedd newydd gwag ar foreu y trydydd dydd yn dywedyd, "Nid yw Efe yma." "O ! y fath ynfydrwydd yn y gwr goludog hwnw oedd gorchymmyn ei enaid i orphwys ar y da lawer a feddai, ac yntau, druan, yn myned i'r farn y noson hono yn ddiymgeledd. Y mae eneidiau yn bodoli y fynyd hon na welant orphwysdra yn dragywydd, diystyrasant bob cynghor, a gwrthodasant yr unig Waredwr oedd gan Dduw i'w gynnyg. Bydded i ti, ddarllenydd, ymdrechu osgoi eu haflwydd trwy wrando ar ei air Ef.

# PREGETH XIX.

## Y BERTHYNAS AC AMMOD Y BERTHYNAS.

"Ond cynnifer ag a'i derbyniasant Ef, Efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, *sef* i'r sawl a gredant yn ei enw Ef. Y rhai ni aned o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gwr, eithr o Dduw."– Ioan i. 12, 13.

Y MAE y testyn a'r cyssylltiad yn cynnwys crynhoad byr, ond hynod gynnwysfawr, o weinidogaeth bersonol yr Arglwydd Iesu Grist yn y byd hwn, yn ei llwyddiant a'i haflwyddiant. Fel y mae yn awr yr oedd y pryd hwnw,—rhai yn credu a llawer yn annghredu, &c. "Yn y byd yr oedd Efe, a'r byd a wnaethpwyd trwyddo Ef; a'r byd nid adnabu Ef." (Adn. 10.) Wrth y gair "byd" yn y ddwy ennghraifft flaenaf y golygir y byd materol, ond wrth y "byd nid adnabu Ef," y byd deallol a feddylir,—dynion y byd.

Y mae yn yr adnodau hyn ddringraddau, y rhai wrth eu hesgyn sydd yn mwyhau synedigaeth yr ysgrifenydd. "Yn y byd yr oedd Efe, a'r byd a wnaethpwyd trwyddo Ef." Nid ychydig o syndod i Ioan oedd gweled gwneuthurwr y byd yn y byd,—y mawr yn y bychan,—y ddaear yn cario yr hwn oedd yn ei chario hi, ac yn ei dal megys ar gledr ei

law ;—y Creawdwr yn cael ei *nursio* gan ei greadur, ac yn derbyn ei gynnaliaeth o'r elfenau hyny a gawsant eu bodolaeth ganddo Ef ei hun ;—yr hwn ni allai nefoedd y nefoedd ei gynnwys, yn preswylio ar y ddaear ac yn pabellu mewn cnawd ! (1 Bren. viii. 27.)

Y mae y frawddeg nesaf yn cynnwys syndod mwy,—"a'r byd nid adnabu Ef." Ni ddygir yr achwyniad hwn yn erbyn y byd materol gynnifer ag unwaith. Er iddo siarad ag ef yn yr holl elfenau,—ei wyntoedd, ei ddyfroedd, ei goedydd, ei fwydydd, ei glefydau, &c.,—ni chafodd un o honynt yn euog o anufudd-dod. Ond am y byd rhesymol a moesol, gorfodir Ioan i ddweyd, "nid adnabu Ef." Na ryfedda, Gristion, os dygwydd i ti fyned trwy y byd heb gael dy weled. Os nad oedd y tywyllwch yn amgyffred y "gwir Oleuni,"—yr Haul,—pa ryfedd i lawer seren ddysglaer fod yn ddisylw.

Syndod mwy etto yn dilyn. "At ei eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun nis derbyniasant Ef." (Adn. 11.) Dichon fod "ei eiddo ei hun" yn y rhan flaenaf o'r adnod yn golygu tiriogaeth neu berchenogaeth *(property)*, a'r un ymadrodd yn y rhan olaf yn golygu "ei bobl ei hun." Y byd yn gyffredinol sydd yn adnod 10, ond gwlad Canaan a'r genedl Iuddewig yn hon. Cyn ymweled â'r byd, pennododd ar Judea yn drigle neillduol iddo ei hun; perthynai y wlad hon mewn modd arbenig iddo, a bwriadai hi i fod yn ddrws agored i'w efengyl wynebu ar yr holl ddaear. Darfu i broffwydoliaethau ac addewidion Duw i'r genedl gynnyrchu dysgwyliad nid bychan ynddi am yr Arglwydd Iesu. "Ac yn ddisymmwth y daw yr Arglwydd, yr hwn yr ydych yn ei geisio i'w deml; sef angel y cyfammod, yr hwn yr

ydych yn ei chwenych : wele Efe yn dyfod, medd Arglwydd y lluoedd." (Mal. iii. 1.) Y meddyldrych o dirfeddiannydd sydd yma yn ymweled â'i etifeddiaeth ; ond y tenantiaid, yn lle ei dderbyn a'i roesawu, yn ei wrthod a'i ladd. Yr Iuddewon oedd ei bobl neillduol,—preswylwyr ei dŷ. Ei elynion penaf oedd ei dylwyth ei hun, a'i addolwyr ei hun a'i rhoddasant i farwolaeth. "Dywedasant yn eu plith eu hunain, Hwn yw yr etifedd ; deuwch lladdwn Ef, a'r etifeddiaeth fydd eiddom ni." (Marc xii. 7.)

Dengys y testyn fod rhai eithriadau gogoneddus i'r rheol hon,—"ond cynnifer ag a'i derbyniasant Ef." Ni bu ei ddyfodiad yn ofer, na'i genadwri yn fethiant, ond fel cenadon ereill Duw,—y gwlaw, yr eira, y gair, &c.,—llwyddodd yntau yn y peth yr anfonwyd Ef o'i blegyd. Os oedd y mwyafrif yn ei wrthod, yr oedd *rhai* yn ei dderbyn ; ac y mae yr adeg mewn addewid pan fydd y mwyafrif yn ochr y derbyn.

Dysgir yma hefyd nad yw yr ychydig i gael eu difreintio o'r fendith, o herwydd bod y lluaws yn ei gwrthod. "Ond cynnifer ag a'i derbyniasant," &c. Ychydig oedd yn yr hen fyd,—"wyth enaid,"—ond gofalodd Duw na chawsant eu boddi. Noah ar ei wythfed oedd defnydd y byd newydd. Ychydig oedd ar y gwastadedd, ond gormod i'w difetha yn anwiredd y ddinas. "Os clyw neb, *rhyw un*, fy llais i ac agoryd y drws, mi a ddeuaf i mewn ato *ef*," &c. Dysga y testyn mai

Crediniaeth yn yr Arglwydd Iesu sydd yn sicrhau perthynas ysbrydol a Duw. "Cynnifer ag a'i derbyniasant Ef," &c. Oddiwrtho, sylwn yn

I. Ar y berthynas grybwylledig. "Meibion i Dduw."

Mewn ystyr creadigol y mae pawb yn blant i Dduw. "Efe a'n gwnaeth, ac nid ni ein hunain; ei bobl Ef ydym, a defaid ei borfa." (Psl. c. 3.) Hon yn berthynas ddiammodol; neb yn llai nac yn fwy perthynas iddo, neb yn nes ato nac yn mhellach oddiwrtho; ond perthynas y testyn yn un neillduol ac arbenig. Y mae holl drigolion Prydain yn ddeiliaid llywodraeth ei Mawrhydi Victoria, ac fel y cyfryw daliant yr un berthynas â hi; ond ceir rhywrai yn y deyrnas yn perthyn yn nes nâ bod yn ddeiliaid iddi, mae ei phlant, ei hwyrion, &c., yn cael dyfodfa nes ati,—mwy o'i chymdeithas a'i chyfrinach nâ phawb ereill yn y tir. Felly yma; y mae pawb yn ddeiliaid llywodraeth Duw, ond cymmeriadau neillduol sydd o fewn cylch ei deulu ysbrydol. "Gyda'r rhai uniawn y mae ei gyfrinach Ef." (Diar. iii. 32.)

(1.) *Y credinwyr yn blant i Dduw trwy fabwysiad.* Gweithred yn ymwneyd ag estroniaid yn unig ydyw mabwysiad. Neb yn mabwysiadu plentyn naturiol, oblegyd y mae yn rhan o'r teulu wrth ddyfod i'r byd. Y weithred rasol hono o eiddo Duw, trwy ba un y mae dyn euog a phechadurus yn cael ei ddwyn i mewn i'w deulu, ac yn cael ei gyfrif yn blentyn iddo, ydyw mabwysiad, &c.

Nid yw y gwahaniaeth sydd rhwng y credadyn a'r anghredadyn yn bodoli erioed; cyfnewidiad a effeithiwyd yn gydmarol ddiweddar gan Ysbryd yr Arglwydd ydyw.

Gall pob Cristion ar y ddaear fenthyca geiriau Paul wrth yr Ephesiaid, a dywedyd, "Yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint megys ereill," Y fath gymhwynas ag

ambell i blentyn amddifad, pan wedi ei adael yn ddiymgeledd ar y maes, ydyw fod rhywun tosturiol gerllaw i gymmeryd trugaredd arno, a'i fabwysiadu yn eiddo iddo ei hun. Dyma gyflwr gresynol pob Cristion unwaith,—"plant digofaint megys ereill." Ond pan ddaeth Duw heibio yn ei ras, cododd hwynt o'r pridd tew a'r clai tomlyd,—dygodd hwynt i'w dŷ i'w hymgeleddu; ac y maent hwythau yn ei adnabod byth er hyny fel eu "Habba Dad."

(2.) *Trwy ail enedigaeth.* Barna lluaws nad yw yr ymadroddion, "bywhau," "adgenedlu," "creu," "ail-eni," "mabwysiadu," "symmud o dywyllwch i oleuni," "myned trwodd o farwolaeth i fywyd," &c., ond termau gwahanol yn gosod allan yr un weithred rasol a effeithir gan Ysbryd yr Arglwydd yn nhroedigaeth pechadur at Dduw. Tybia ereill fod iddynt oll ystyron gwahanol,—eu bod yn blaenori a dilyn eu gilydd fel dolenau mewn cadwyn, a bod i'r naill a'r llall eu lle, eu gwaith, a'u dyben neillduol yn ngoruchwyliaeth yr adferiad. Addefwn yn ostyngedig nad yw y goleuni a feddwn ar y mater gwir bwysig hwn yn ein galluogi i ffurfio barn glir a phenderfynol arno. Wrth fabwysiadu y syniad olaf, cyfyd cwestiwn pwysig arall yn y meddwl, sef pa un o'r grasusau hyn sydd yn gweithredu yn gyntaf, yn ail, &c., yn adferiad y pechadur? Os grasusau gwahanol yn gweithredu mewn olyniad ydynt, tueddir ni i gredu fod mabwysiad yn blaenori ail-enedigaeth. Ffrwyth uniongyrchol preswyliad yr Ysbryd yn nghalon dyn ydyw adenedigaeth, ond tybiwn mai sylfaen rhoddiad yr Ysbryd i breswylio ynddo ydyw mabwysiad. "Ac o herwydd eich bod yn feibion, yr anfonodd Duw Ysbryd ei Fab i'ch calonau chwi, yn llefain Abba Dad." (Gal. iii. 6.)

Gellir meddwl wrth yr adnod hon fod anfoniad yr Ysbryd i'w calonau yn ganlyniad i ac yn brawf o'r berthynas fabaidd. Ar ol dwyn yr estron yn aelod o deulu santaidd Duw, daw i feddu anian, cymmeriad, iaith, ac arferion y teulu,—i fwynhau ei ragorfreintiau, adnabod yr hwn sydd yn ben ynddo, a'i gyfarch yn y cymmeriad o Dad.

(*a.*) Fod ail-eni yn weithred oruwchnaturiol. (Adn. 13.) Mae holl feibion Duw wedi eu geni o Dduw, &c. Unig lwybr yr enedigaeth gyntaf ydyw ffordd y gwaed, y cnawd, a'r dynol; ac arweinia yn anocheladwy i bechod, blinder, a marwolaeth. "Dyn a aned o wraig sydd fyr o ddyddiau, a llawn o helbul." (Job xiv. 1.) Ond llwybr o Dduw ydyw yr ail-eni; a dywed Ioan nad ydyw yr ail-enedig yn pechu, am ei eni ef o Dduw. Y mae porth yr ail-eni yn agorfa i santeiddrwydd, ac i fwyniant digymmysg o fywyd tragywyddol, &c.

(*b.*) Yn weithred bersonol.—Gorphenodd yr Arglwydd ei waith uniongyrchol ar ddynoliaeth naturiol yn nghreadigaeth ein rhieni cyntaf. "Ac Efe a wnaeth o un gwaed, bob cenedl o ddynion, i breswylio ar holl wyneb y ddaear." (Act. xvii. 26.) "O *un* gwaed." Nid pob dyn yn dyfod allan yn bersonol dan law Duw ydyw y drefn yn yr enedigaeth gyntaf; ond y naill ddyn o'r llall yn rhinwedd gorchymmyn yr Arglwydd iddynt ffrwytho ac amlhau, &c. Ond nid felly yn yr enedigaeth ysbrydol; yma y mae pob un yn cael ei eni yn uniongyrchol o Dduw. Y mae pob ymyriad dynol, pa mor effeithiol bynag, yn anfeidrol rhŷ fach i eni dyn drachefn, a'i greu o'r newydd i weithredoedd da. Ni wêl yr Iuddew fantais byth mwy oddiwrth ei berthynas naturiol ag Abraham; rhaid iddo gychwyn o'r

un man, a thrwy yr un oruchwyliaeth â'r Cenedl-ddyn,—rhaid ei eni drachefn, a'i eni o Dduw, cyn yr â i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist. Beth bynag a ddysgwyliwn oddiwrth ein gilydd, na ddysgwyliwn yr anian newydd a chymhwysder i'r nef ond oddiwrth Dduw yn unig.

(3.) *Y mae bod yn aelod o deulu Duw yn rhagorfraint o'r mwyaf.* "Efe a roddes iddynt allu (y fraint, J.W.,) i fod yn feibion (yn blant) i Dduw." Byd enwog ydyw hwn am ymffrostio mewn gwaedoliaeth a bonedd; os dygwydd fod perthynas rhyngom â rhywrai o safle, er iddi fod yn y nawfed âch, ond odid na chaiff pawb wybod hyny, &c. Ond pwy all ddirnad braint a meddiant pendefigion Seion fryn? Beth bynag ydyw urddas Tywysog Cymru, os nad ydyw wedi profi effeithiau glanhaol gwaed y groes, a'r symmudiad o deyrnas Satan i deyrnas anwyl Fab Duw, y mae miloedd yn y byd heddyw na chymmerent y ddaear a'i chyflawnder am newid sefyllfa ag ef. Y mae y cardotyn duwiol sydd yn gwlychu o dan y bargodion wrth fegian ei fara o ddrws i ddrws, yn fwy o foneddwr yn ngwir ystyr y term nâ'r goludog annuwiol yn ei balas. Y mae Joseph yn y carchar, y llanciau yn y ffwrn, a Daniel yn y ffau, yn uwch boneddigion filwaith nâ'r breninoedd uchelfalch a'u taflasant yno. Boneddigion yn wir oedd y pump blaenaf, ond eu bod oddicartref ar y pryd. Pa ryfedd i'r emynydd ganu mai

"Braint, braint,
Yw cael cymdeithas gyda'r saint,
Na welodd neb erioed ei maint," &c.

II. Ammod aelodiaeth yn y teulu urddasol hwn.

"Derbyn yr Arglwydd Iesu, drwy gredu yn ei enw." (Gwel J.W.)

Nid oes modd ei dderbyn heb gredu ynddo, na chredu ynddo heb ei dderbyn, na modd bod yn gadwedig heb y ddau, &c. Y mae gweithredoedd heb ffydd mor farw, ofer, a dilês i'r gweithredydd ag ydyw ffydd heb weithredoedd. Y mae y ddau yn y testyn,—y credu a'r gweithredu, &c.

Nid rhywfath o ffydd wna'r tro. Nid credu *am* Grist, ond credu ynddo. Y mae credu ynddo yn gam pwysig tu draw i gredu am dano. Y mae yn bossibl credu am dano heb gredu ynddo, ond ni ellir y diweddaf heb y cyntaf. Y mae peidio credu *am* Grist yn wrthgrediniaeth. Y mae credu am dano yn anhebgorol i gredu ynddo. Ni all yr anffyddiwr gredu ynddo am nad ydyw yn credu am dano; ac y mae yr hwn nad yw yn credu am dano yn aflwyddo i fyned yn mhellach mewn drygioni nâ hyd y nod y cythreuliaid eu hunain; oblegyd dysgir am danynt hwy eu bod yn "credu ac yn crynu." (Iago ii. 19.)

Y ffydd gadwedigol ydyw hono sydd yn cynnwys crediniaeth sefydlog a diysgog yn holl drefn rasol Duw at y byd, ac ymorphwysiad hollol yr enaid ar Iawn anfeidrol y Mab am fywyd tragywyddol, a'r hon a gynnyrcha lawenydd annhraethadwy a gogoneddus yn mynwes y credadyn yn nghanol dyoddefiadau chwerwaf yr amser presenol hwn. Rhydd y geiriau acw olwg i ni ar berchenogion y ffydd hon. "Yr hwn, er nas gwelsoch, yr ydych yn ei garu; yn yr hwn, heb fod yr awrhon yn ei weled, ond yn credu, yr ydych yn mawr-lawenhau â llawenydd annrhaethadwy a gogoneddus." (1 Pedr i. 8.) Y mae y ffydd hon yn medru

dyrchafu ei pherchenog uwchlaw y gweledig a'r rhesymol at yr anweledig a'r uwch-resymol, a pheri iddo ymsefydlu ar wrthddrychau a ymddangosant yn annhebyg i'r hyn ydynt o'r safle bresenol.

Y mae rheswm yn ein dysgu fod lluaws o bethau yn wahanol iawn i'r hyn yr ymddangosant i'r llygad noeth. Nid ydyw yr haul, canolbwynt mawr y gyfundrefn heulog yn ymddangos ond cydmarol fychan i breswylwyr y blaned hon, a hyny o herwydd y pellder anferth sydd rhyngom ag ef ; tra y mae rheswm a gwybodaeth yn dysgu yr athronydd i fod dros filiwn o weithiau yn fwy nâ'r ddaear. Fel y mae rheswm yn ymgodi uwchlaw yr ymddangosiadol, felly y mae ffydd yn tra-ymddyrchafu uwchlaw rheswm ac athroniaeth. Y mae fod y Duwdod yn tabernaclu mewn cnawd, a'r ddwy natur yn orseddedig ar deyrngadair y cyfanfyd yn mherson Mab y dyn, a hwnw yn ffrynd calon i bechadur, yn uwch nâ rhesymau holl athronwyr y cread gyda'u gilydd, a pha rhyfedd hyny, gan mai *idea* fawr Duw ydyw. Ond pa beth bynag sydd yn dywyll i'r athronydd, y mae ffydd fywiog y credadyn yn ei ganfod yn eglur. Beth bynag am drwch y llen sydd yn atal rhesymeg i ganfod y dirgelion sydd yn uniad y ddwy natur yn y "dyn Crist Iesu," yn effeithioldeb ei farw iawnol, a gwiwdeb ei aberth drud, &c., y mae ffydd y Cristion yn myned at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen, ac yn canfod y peirianwaith dwyfol yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw.

*Credu ynddo.* Ei enw, ei awdurdod, a'i allu. Rhaid i ffydd fyned i gyffyrddiad digyfrwng â Christ cyn bod yn alluog i dynu rhinwedd ysbrydol o hono. Faint bynag o ddwfr fydd yn y pydew, ni ddaw o hono heb i bibell y sugnedydd

gyrhaedd hyd ato. Pan welwyd y Gwaredwr yn rhodio daear yn y cnawd, tystiolaethid am dano ei fod yn "llawn gras a gwirionedd," ac felly, drwy drugaredd, y parhâ hyd heddyw, ond y sugnbeiriant sydd yn tynu o'r anchwiliadwy olud sydd ynddo ydyw ffydd y credadyn. Y mae holl gyfoeth y duwdod yn feddiant i'r hwn sydd mewn undeb ffydd â'r person bendigedig y trysorwyd Ef ynddo.

"Ffydd bura'r galon o bob plâ,
A ffydd trwy gariad gweithio wna,
Ffydd ymlid ffwrdd bob cyssur gau,
A chodi'r serch i'r nef y mae."

# PREGETH XX.

## CYMMERIAD POBL YR ARGLWYDD A'U RHAN.

"Mor fawr yw dy ddaioni a roddaist i gadw i'r sawl a'th ofnant; ac a wnaethost i'r rhai a ymddiriedant ynot, ger bron meibion dynion." —Salm xxxi. 19.

DIAMHEU fod meddwl yr awdwr pan lefarodd y testyn, ar ddaioni neillduol Duw ar gyfer dosparth neillduol o'i greaduriaid. Y mai daioni Duw o ddau fath. Un ydyw ei ddaioni cyffredinol, yr hwn sydd yn ymweled â phawb yn ddiwahaniaeth. "Daionus yw yr Arglwydd i bawb: a'i drugaredd sydd ar ei holl weithredoedd." (Salm cxlv. 9.) I'r dosparth hwn y perthyna cymhwynasau dirifedi ei Ragluniaeth, megys goleuni, gwres, awyr, gwlaw, cynnyrch y ddaear, &c., yn nghyd â'r cymhellion parhaus i fwynhad o fendithion yr Iachawdwriaeth. Y mae ei ddaioni neillduol o'r tu arall yn gyfyngedig i ddosparth neillduol. "Y rhai a'th ofnant ac a yddiriedant ynot, ger bron meibion dynion." Perchenogion ffydd, gobaith, a chariad yr efengyl ydyw y rhai hyn. Rhai mewn heddwch â Duw, a wnaed yn gyfranogion o Grist, ac a ddaliant ddechreuad eu hyder yn sicr hyd y

diwedd; gan ddysgwyl am y gobaith gwynfydedig, ac ymddangosiad y Duw mawr, a'n Hiachawdwr Iesu Grist.

I. Sylwn ar gymmeriad y bobl hyn.

Dywedir yma dri pheth am danynt.

(1.) *Eu bod yn ofni Duw.* "A'th ofnant." Golyga yr ymadrodd, rai prydiau, y teimlad hwnw o arswyd a braw â pha un y llenwir calonau gelynion yr Arglwydd, pan feddyliant am dano fel "dialydd llid," a barnwr meibion dynion. Nid hwnw a olygir yma; ond y teimlad hwnw o barch santaidd i Dduw, yr hwn sydd yn aros yn nghalonau ei blant, ac yn peri iddynt ofalu yn bryderus, a gwylied yn grynedig, rhag mewn un modd groesi ei ewyllys a'i ddigio. Nid ofn gwasaidd mo hono, ond mabaidd. Nid ofn barnol, ond duwiol. Nid ofn y condemniedig sydd yn ei gell yn aros gweinyddiad y ddedfryd a gyhoeddwyd arno gan y barnwr, ond yr ofn parchus hwnw sydd yn gwneyd ei berchenog yn ddeiliad teyrngarol i'r brenin dan bob amgylchiad. Yr ofn hwnw sydd yn cynnyrchu santeiddrwydd yn mywyd ei feddianydd, ac am yr hwn y dywed yr awdwr mewn lle arall ei fod yn "lân ac yn parhau yn dragywydd." (Salm xix. 9.)

Dywedir am rywrai "Nad oes ofn Duw ger bron eu llygaid," ac y mae y pechod negyddol hwnw yn eu gosod yn agored i'r fath waethaf o bechodau gweithredol. "Bedd agored yw eu ceg; a'u tafod y gwnaethant ddichell; gwenwyn aspiaid sydd dan eu gwefusau; y rhai y mae eu genau yn llawn melldith a chwerwedd. Buan yw eu traed i dywallt gwaed. Dystryw ac aflwydd sydd yn eu ffyrdd. A ffordd tangnefedd nid adnabuant." Gofyner i Paul pwy yw

y rhai hyn, a dywed mai y rhai "nid oes ofn Duw ger bron eu llygaid," ydynt. (Rhuf. iii. 13—18.)

Dichon mai tri dosparth o amgylchiadau sydd o'r tu allan i Dduw a thuedd ynddynt i beri ofn, sef, y rhai a gyfodant oddiwrth ddynion, oddiwrth chwildroadau mawrion a sydyn, ac oddiwrth angeu; ond nid oes ofn yr un o honynt ar yr hwn sydd yn ofni Duw. Am ddynion dywed, "Pe gwersyllai llu i'm herbyn, nid *ofna* fy nghalon." Am chwildroadau dywed, "Duw sydd noddfa a nerth i ni, cymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder. Am hyny nid *ofnwn* pe symmudai y ddaear, a phe treiglid y mynyddoedd i ganol y môr." Ac yn ngwyneb angeu, dywed, "Pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid *ofnaf* niwed." Y mae hwn yn gryf a hyderus, lle y mae pawb ereill yn wan ac ofnus, a hyny am fod ei ofn yn peri iddo lechu yn nghysgod yr Hollalluog.

(2). *Nodwedd arall perthynol iddynt ydyw ymddiriedaeth.* "Ymddiriedant ynot." Cyfyd ymddiriedaeth oddiar ddau beth,—ymdeimlad o wendid ac analluu yn yr ymddiriedwr, a ffydd gref yn, ac adnabyddiaeth lwyr o'r sawl yr ymddiriedir ynddo. Y mae adnabyddiaeth a ffydd yn rhwym o flaenori *trust* o unrhyw fath. Gofynai milwr unwaith i'w briod, yr hon a wenai yn ei wyneb tra yr ysgydwai efe ei gleddyf o amgylch ei phen, pa fodd y meiddiai wenu felly, tra yr oedd offeryn angeu mor agos i'w bywyd? Ei hateb oedd, "Am fy mod mor berffaith adnabyddus â chalon yr hwn sydd yn ei ysgwyd." Cymmer llawer tro chwerw le yn hanes plentyn Duw yn y byd hwn; ond y mae ei adnabyddiaeth â chalon yr hwn sydd yn llywio ac yn goruwch-lywodraethu yr amgylchiadau

blinderus yn gyfryw, fel ag yr ymddirieda ynddo yn y peryglon mwyaf. "Pe lladdai Efe fi, etto mi a obeithiaf ynddo Ef." Pe buasai y fath beth ag i anffawd ddygwydd o du yr Arglwydd yn ei berthynas â'i blentyn yn y byd hwn, yr hyn na ddygwydd, credai Job y medrai wneyd iawn digonol drosto yn y byd a ddaw. "Gwyn eu byd," gan hyny, "pawb a ymddiriedant ynddo Ef."

(3.) *Nodwedd arall ydyw cyhoeddusrwydd.* "Ger bron meibion dynion." Nid oes gwasanaeth yn perthyn i grefydd nad yw yn deilwng o gyhoeddusrwydd a goleuni. Gweithredoedd y goleuni y gelwir ei gweithredoedd, a phlant y goleuni a phlant y dydd y gelwir dilynwyr Mab Duw. Rhydd Awdwr ein crefydd bwys mawr ar gyhoeddusrwydd ein cyflawniadau. Mae y ddau arddeliad mawr sydd yn hanes y ddau fyd i fod yn rhai cyhoeddus; gweithredir y naill gan ddynion, a hyny yn ngwydd dynion yn y byd hwn, a gweithredir y llall gan Fab Duw, a hyny ger bron yr angylion yn y byd a ddaw. Dysgir hefyd fod arddeliad Crist o honom ni yn ngwydd yr angylion yn dibynu ar ein harddeliad ni o hono Ef yn ngwydd dynion. "Canys pwy bynag a fyddo cywilydd ganddo fi a'm geiriau yn yr odinebus a'r bechadurus genedlaeth hon, bydd cywilydd gan Fab y dyn yntau hefyd, pan ddêl yn ngogoniant ei Dad, gydâ'r angylion santaidd." (Marc viii. 38.) Ni chymmer Iesu ei arddel oni arddelir Ef yn ngwydd ei elynion. Oddiar law dynion y derbyniodd y cam mwyaf a'r driniaeth greulonaf, ger bron dynion y cafodd ei gondemnio, a thrwy ddwylaw anwir dynion y cafodd ei groeshoelio. A chyn y bydd yn foddlon i wasanaeth ei gyfeillion, rhaid ei ddyrchafu o faes y frwydr fu rhyngddo â'i elynion. Rhaid

i'r mawl, y gogoniant, a'r gwasanaeth esgyn iddo o diriogaeth y darostyngiad, y tlodi, a'r gwarth. Mae dyddiad proffwydi y llwyni, a'r dysgyblion cuddiedig, wedi myned heibio, a'r holl wasanaeth o hyn allan i'w gario yn mlaen ger bron meibion dynion. Lleferydd pob proffeswr teilwng o grefydd ydyw, "Nid oes arnaf gywilydd o efengyl Crist," &c.

II. Rhan pobl yr Arglwydd.

Dysgir yma fod daioni yr Arglwydd yn rhan iddynt.

(1.) *Ei fawredd.* "Mor fawr yw dy ddaioni." Ymadrodd anmhossibl ei esbonio ydyw "*mawr*" yr Ysgrythyrau. Hawddach synu uwch ei ben na'i amgyffred. Un o eiriau ystwyth a phenagored ysbrydoliaeth ydyw, yr hwn y gellir ei estyn a'i ledu i gynnwys pob peth goreu Duw ar gyfer dyn. Ceir lluaws o eiriau cyffelyb iddo yn yr "Oraclau Dwyfol." "Mawr yw dirgelwch duwioldeb Duw a ymddangosodd yn y cnawd." Pa mor fawr ydyw, nis gall Paul fawr ei hun ddweyd. Pwy yn dragywydd fedr amgyffred y dirgelwch sydd yn uniad y ddwy natur yn Mherson y dyn Crist Iesu? Er mor dreiddgar eu golygon ydyw yr angylion, bydd *ymylon* y dirgelwch hwn yn cynnwys digon o fawredd am byth iddynt, heb fyned yn mhellach i fewn na'r wyneb. Arno yr edrychant, nid trwyddo. "Iachawdwriaeth gymmaint." Gymmaint a pha beth? Gymmaint ag y mynai Duw iddi fod. Mwy nag angen dyn. Y plastr yn *fwy* na'r toriad. Yr aberth yn *fwy* na'r trosedd. Y ffynnon yn *fwy* na'r aflendid. Yr iawn yn *fwy* na'r euogrwydd, &c. "Mor fawr."

(2.) *Daioni o wneuthuriad Duw ydyw.* "A wnaethost."

I weled daioni yn ei burdeb digymmysg, rhaid codi ein golygon at y gwneuthurwr. Y mae bron bob peth yn cael ei anurddo wrth ddyfod i gyssylltiad â'r byd hwn. Y mae y dwfr yn agored i gael ei lygru ar ol gadael y ffynnon; y mae yr eira yn brychu ar ol disgyn o'i drysorfa glaerwen, ac awyr pur y nefoedd yn tewychu wrth ymgymmysgu â mŵg y ddaear, &c. Y mae modd cael y daioni mwyaf, trugaredd, gwirionedd, santeiddrwydd, &c., yn uniongyrchol o law y gwneuthurwr mawr ei hun, heb iddo redeg trwy unrhyw sianel arall.

Y mae rhai crefyddau i'w cael ydynt yn debyg iawn i *second-hand shops* ein trefydd; nwyddau ail law sydd ganddynt i'w cwsmeriaid; ac o bob peth ail law, crefydd ail law ydyw y fargen salaf mewn bod. Y mae didwyll laeth y gair yn troi yn lâsdwr wrth gael ei drafod ganddynt. Y mae maddeuant a gras yn *soilo* wrth gael eu trosi o ddwylaw yr offeiriaid at gyflyrau pechaduriaid. Os am yr aur yn ei burdeb, y wisg wen yn ei dysgleirdeb, a llaeth y gair yn ei ddidwylledd, gofalwn gadw yn mhell oddiwrth y *pawnshops* hyn, ac awn ar ein hunion i'r *fountain head* at Awdwr Iachawdwriaeth, a Duw pob gras. Y mae ei farchnadfa yn agored bob awr, a'r arwydd *(sign)* yn ddigon amlwg i weled ansawdd a dognedd y nwyddau. "Yr wyf yn dy gynghori i brynu genyf *fi* aur wedi ei buro trwy dân, fel y'th gyfoethoger; a dillad gwynion fel y'th wisger," &c.

(3.) *Daioni wedi ei roddi i gadw ydyw.* "A roddaist i gadw." Un hynod yw Duw am gadw. Yr hwn fedrai chwyddo y bara wrth ei dori yn yr anialwch, oedd yr hwn a ddywedai, "Cesglwch y briwfwyd gweddill fel na choller dim." Ac yn mysg pethau ereill, "y mae trugaredd gyda'r

Arglwydd, ac aml ymwared gydag Ef." Ceidw gyfammod a thrugaredd â'r rhai a'i carant Ef, ac a gadwant ei orchymmynion, hyd fil o genedlaethau.

Y mae Duw wedi darparu gwahanol leoedd ar gyfer amrywiaeth ei ddaioni. Nid yn yr un pentwr y ceidw yr amaethwr holl gynnyrch ei feusydd, ac nid yn yr un *botel* y ceidw y meddyg ei holl gyffeiriau, ond ar wahan ac i bwrpas neillduol. Y mae gan yr Arglwydd hefyd bedair trysorfa fawr i gadw cyfoeth cynnyrchion ei feddwl: y ddaear, ei air, ei Fab, a'r nefoedd. Trysorfa lawn iawn ydyw y ddaear. Ymwêl yr Arglwydd â hi, a chyfoethoga hi yn ddirfawr âg afon Duw. Corona y flwyddyn â daioni, a'i lwybrau a ddyferant frasder. Ac er iddi gyfarfod âg angenion yr oesau a aethant heibio, gall ei phreswylwyr godi eu golygon at Dduw eleni etto, a dywedyd, "Llawn yw y ddaear o'th gyfoeth." Ac ar ol iddi barhau i roddi hyd ddiwedd amser, bydd yma ddefnyddiau wedi hyny i'w toddi yn ngolosgiad y dydd diweddaf. Y mae y ddaear yn llawn o gyfoeth; y mae y Gair yn llawn o gyfarwyddiadau ac addewidion; hwn ydyw rheol ein ffydd. "A chynnifer ag a rodiant yn ol y rheol hon, tangnefedd arnynt, ac ar Israel Duw." Y mae y Cyfryngwr yn llawn o ras a maddeuant, "oblegyd rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo Ef." Y mae y nefoedd yn llawn o wobrwyon diddiwedd i'r ffyddloniaid. "Rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi * * * ac nid yn unig i mi, ond hefyd i bawb a garant ei ymddangosiad Ef." Gan ei bod i bawb y mae i tithau hefyd, ddarllenydd, ond i ti ymdrechu, am dani. "Gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo Ef mewn tangnefedd, yn ddifrycheulyd, ac yn ddiargyhoedd." Amen.

# TRAETHODAU

YN CYFFWRDD A RHAI MATERION

# POLITICAIDD

A

# CHREFYDDOL.

## TRAETHAWD I.

### CADWRAETH (*PRESERVATION*) YR YSGRYTHYRAU O'R CYFNOD BOREUAF HYD YN AWR.*

(BUDDUGOL).

YN gymmaint â bod yr "holl Ysgrythyr wedi ei roddi gan ysbrydoliaeth Duw," a hyny i'r dyben goruchel a briodolir iddo, naturiol dysgwyl y buasai ei wyliadwriaeth drosto y fath, fel ag i'w gadw yn ddilwgr a'i drosglwyddo i lawr trwy y gwahanol oesau a'r amrywiadau gyfnewidiadiau y mae plant dynion wedi dyfod trwyddynt o'r dechreu hyd yn awr. Nid yw y cyfarwydd yn hanesiaeth yr oesau tywyll yn fwy argyhoeddedig o ddim nâ bod galwad am i'r un gallu gael ei amlygu yn "nghadwraeth yr Ysgrythyrau" *yn* y byd ag a amlygwyd yn eu rhoddiad *i'r* byd ar y dechreu. Y mae fod y Beibl—y llyfr hynaf, a'r hwn a gyfarfyddodd â'r gelynion lluosocaf a chreulonaf—yn aros fel y gwelir ef, pan y mae cyfansoddiadau ereill, y rhai a wnaethant eu hymddangosiad ar y maes ganrifoedd lawer yn ddiweddarach wedi diflanu o'r golwg mor llwyr, yn brawf o arolygiaeth Ddwyfol drosto. Gan fod "Cadwraeth yr Ysgrythyrau" yn rhagdybied eu bodolaeth, un o'r pethau cyntaf sydd yn ymgynnyg i'r meddwl ydyw yr ymofyniad canlynol: Yn mha gyfnod yn oes y byd y dechreuwyd cyfleu

* O *Seren Gomer*, 1880.

meddwl trwy ysgrifen? Canys amlwg yw fod i'r gelfyddyd wasanaethgar hon fel pob celfyddyd arall ei dechreuad. Diau na cheir cymhorth i benderfynu y cwestiwn hwn gydag un gradd o sicrwydd o'r tu allan i'r gwirionedd santaidd ei hun; ac oherwydd nad oes ynddo yntau hysbysrwydd pendant mewn perthynas i darddiad y gelfyddyd, ceir dynion dysgedig yn gwahaniaethu yn eu barnau ar y mater.

Barna rhai mai yr Arglwydd ei hun a ddechreuodd y gelfyddyd pan ysgrifenodd y gyfraith ar lechau i feibion Israel (gwel Exod. xxxi. 18; xxxii. 15, 16); ond heb ymdroi yn ormodol gyda'r dybiaeth uchod, ymddengys yn eglur fod y gelfyddyd mewn arferiad yn flaenorol i roddiad y ddeddf ar Sinai. Mae genym seiliau cryfion i gredu fod y patriarch Job yn blodeuo yn mhell cyn dyddiau Abraham; a chan y crybwyllir droion am y gelfyddyd o ysgrifenu yn y llyfr sydd yn dwyn ei enw, mae yn dra thebyg ei bod mewn arferiad y pryd hwnw (Job xix. 23, 24; xxxi. 35). Sonir hefyd yn llyfr Genesis (pen. vi.) am "lyfr cenedlaethau Adda," yr hyn fe ddichon a olyga fod cofrestr achyddol o honynt yn cael ei chadw mewn ysgrifen, megys ag y gwneir yn Mat. i. 1. Crybwyllir am frwydr hynod yn cymmeryd lle rhwng meibion Israel a'r Amaleciaid yn Rephidim, cyn dyfodiad y genedl at fynydd Sinai; ac ar ol gorchfygiad Amalec, dywedodd yr Arglwydd wrth Moses am ysgrifenu yr hanes mewn llyfr coffadwriaeth. (Gwel Exod. xvii. 14). Tybiwn fod yr ennghreifftiau uchod, yn nghyd ag ereill a allesid eu nodi, yn awgrymau pur eglur fod y gelfyddyd o ysgrifenu mewn arferiad yn flaenorol i roddiad y ddeddf ar Sinai.

Oddi ar ei wybodaeth o'r anhawsdra naturiol a berthynai i blant dynion i ddal yn eu cof ei holl gyfreithiau a'i gyfarwyddiadau, a'u trosglwyddo yn eu cyfanrwydd a'u purdeb o'r naill genedlaeth i'r llall, gosododd y Duw mawr y gelfyddyd werthfawr hon o dan deyrnged i'w ewyllys yn dra boreu yn oes y byd. Ymddengys fod y llyfrau cyssegredig, fel cyfansoddiadau ereill perthynol i'r cyfnod cyntefig, yn cael eu hysgrifenu ar grwyn, y rhai a gyssylltid â'u gilydd fel ag i wneyd un rhôl (gwel Isa. viii. 1). Copïau o bum llyfr Moses yn y ffurf hon, ydynt rai o'r ysgrif-lyfrau hynaf yn y byd. Arferid weithiau ag ysgrifenu ar ddarnau o goed a llafnau o gerryg, y rhai a elwid *Codices* (tebyg mai oddiwrth y gair hwn y deilliodd y gair Seisnig *Code* a *Code of laws*); brydiau ereill byddid yn ysgrifenu ar bapyr-frwyn (*papyrus*), sef dail llydain llysieuyn nodedig yn ngwledydd y dwyrain. Yr uchod oeddynt rai o'r defnyddiau ar y rhai yr ysgrifenwyd ac y cadwyd "gair y bywyd" dros lawer o ganrifoedd hyd nes y darganfyddwyd y gelfyddyd werthfawr o argraffu.

Yr oedd y prif gopi o'r gyfraith, yr hwn a olygid yn safon y copiau ereill oedd ar wasgar yn mhlith y genedl, yn yr Arch (Deut. xxxi. 26), o dan ofal yr offeiriad, i'w gadw rhag myned ar goll, a rhag cael ei lygru ag ychwanegiadau anysbrydoledig, ac i fod yn dyst yn erbyn llygredigaethau y genedl Iuddewig. Gan fod y swyddogion crefyddol o nifer mor luosog, nid oedd newidiad yn y gyfraith yn beth possibl, pe yr ewyllysid, heb i'r rhai hyny oll uno ynddo; ac ni cheir enghraifft mewn hanesiaeth gyssegredig na thraddodiadol iddynt fod yn euog o hyny.

Yn hanes symmudiad yr Arch i deml Solomon, fe ddy-

wedir nad oedd dim ynddi ond y ddwy lech faen a osodasai Moses yno yn Horeb (1 Bren. viii. 3: 2 Chron. v. 10); y cwestiwn naturiol gan hyny sydd yn ymgynnyg i feddwl yr efrydydd ydyw, pa beth a ddaethai o'r gyfraith a ysgrifenodd Moses yr hon a gyflwynodd i ofal yr offeiriaid, meibion Lefi, ac i henuriaid Israel? Fe wêl y darllenydd, ond iddo sylwi, mai nid *yn* yr Arch, h.y., nid o'i mewn y gosodwyd y gyfraith; ond *ar ei hystlys* (Heb. *Mitstsadd aron* Deut. xxxi. 26). Y tebygolrwydd gan hyny ydyw, fod rhyw fath o gist fechan wedi cael ei chyssylltu ag ochr yr Arch, yn yr hon y byddid arferol o gadw gair yr Arglwydd. A hyn y cytuna y frawddeg ganlynol o eiddo Flavius Josephus: "Yn ganlyncl efe (Moses) a roddodd y llyfrau hyn i'r offeiriad yn nghyda'r Arch; yn mha un hefyd efe a osododd y deg gorchymmyn wedi eu hysgrifenu ar ddwy lech." (Hyn. llyfr IV., pen. viii., adr. 44).

Gyda threigliad amser ceir ennghreifftiau mynych o ddynion santaidd yn ysgrifenu yn "llyfr Cyfraith yr Arglwydd," yr hyn a ddengys fod ysgrifeniadau Moses ar gael ac mewn cadwraeth ddyogel. "A Josua a ysgrifenodd y geiriau hyn yn llyfr cyfraith Duw." (Jos. xxiv. 26.) Gwelir mai ychwanegiad oedd yr uchod at y gyfran a fodolai yn flaenorol. Dywedir hefyd fod Samuel wedi traethu cyfraith y deyrnas wrth y bobl, a'i hysgrifenu mewn (yn y) llyfr, a'i gosod ger bron yr Arglwydd (1 Sam. x. 25). Nis gall hyn debygwn olygu dim yn wahanol na bod y prophwyd wedi ychwanegu yr ysgrifen grybwylledig at y rhanau a gydnabyddid eisoes yn Ysgrythyrau ysprydoledig, a'i fod, er ei dyogelwch, yn ei gosod i gadw ger bron yr Arglwydd. Pan wrth y gorchwyl o adgyweirio y deml yn

amser teyrnasiad Josiah, daeth Hilciah, yr hwn oedd Arch-offeiriad ar y pryd, o hyd i "lyfr y gyfraith yn nhŷ yr Arglwydd" (2 Bren. xxii. 8). Y peth tebycaf am hwn ydyw, iddo gael ei guddio mewn rhyw fan dirgel yn rhai o ystafelloedd y Cyssegr gan ryw offeiriad duwiol ag oedd erbyn hyn naill ai wedi marw, neu wedi cael ei ferthyru gan Manasseh annuwiol, yr hwn, yn ei sêl ynfyd o blaid eilun-addoliaeth, a wnaeth ei egni i ddinystrio yr oll y cawsai afael arnynt o'r Ysgrythyrau Dwyfol. Heblaw bod hyn yn awgrymiad teg mai yn y Cyssegr ger bron yr Arglwydd y cedwid y gyfraith santaidd, dengys hefyd mawr ofal Duw dros ei chadwraeth a'i dyogelwch yn y byd, er holl gynddaredd a gelyniaeth calon dyn.

Wedi i'r prophwyd Esaiah gyhoeddi y dinystr llwyr a ymwelai ag Edom oddi wrth Dduw, y mae yn annog y bobl i geisio allan o lyfr yr Arglwydd, a darllen (pen. xxxiv. 16). Dengys hyn nid yn unig fod y fath lyfr mewn bod, ond hefyd ei fod yn adnabyddus, ac o fewn cyrhaedd i wrandawyr y prophwyd. Gelwid ef yn "llyfr yr Arglwydd," naill ai o herwydd dwyfoldeb ei darddiad, neu ynte am y cedwid ef yn y man lle y byddai yr Arglwydd yn preswylio yn mysg dynion, sef y Cyssegr; neu, fe ddichon, am y ddau reswm.

Gwelir oddi wrth Dan. ix. 2, fod llyfrau yr Hen Destament ag oedd wedi eu hysgrifenu yn flaenorol i'r amser hwnw, yn mhlith y rhai yr oedd prophwydoliaethau Jeremiah, am barhad caethiwed cenedl Israel yn Babylon, wedi cael eu cadw rhag dinystr gan Ragluniaeth Duw, a'u casglu yn nghyd fel un llyfr neu gasgliad o lyfrau, ac o fewn cyrhaedd efrydwyr ewyllys yr Arglwydd. Trwy gyfrwng

y llyfrau hyn y darfu i Daniel fedru deall rhifedi y blynyddoedd gyda golwg ar adfeilion Jerusalem a chaethiwed y genedl. Dengys hyn, naill ai na chafodd y llyfrau cyssegredig a gedwid yn y deml eu dinystrio yn y difrodiad a fu arni gan Nebuchodonosor a'i fyddin, neu ynte fod amryw o gopïau o honynt yr adeg hono yn meddiant yr Iuddewon; oblegyd can gynted ag y dychwelodd y genedl o'r caethiwed, ni gawn Ezra yn ail-sefydlu y gwasanaeth crefyddol "yn ol ysgrifen llyfr Moses," ac yn darllen ac yn egluro cyfraith Moses i'r bobl (Ezra vi.; Neh. viii.).

Pa le y cedwid yr Oraclau Dwyfol yn ystod y saith deg o flwyddi ag y bu y genedl yn wylo ar lan afonydd gwlad estronol, a'i thelyn yn grogedig ar yr helyg, ni wyddis yn bresenol; ond y mae y ffaith i wasanaeth y Goruchaf gael ei gario yn mlaen yn ol eu cyfarwyddyd, ac iddynt gael eu dyogelu, yn awgrymiad ychwanegol fod yr Arglwydd yn penderfynu na chaiff ei ewyllys i ddynion syrthio i ddifancoll er holl derfysgoedd, ymrysonau, a gelyniaeth cenedloedd y ddaear.

Ar ol ail-adeiladiad y deml, ymddengys mai yno y cedwid yr ysgrifeniadau santaidd fel cynt. Wrth son am Moses yn dwyn dwfr o'r graig i'r genedl, pan ar ei thaith i Ganaan, ceir yr adroddiad canlynol gan Josephus:—"Felly y mae yr Ysgrythyr hono a osodwyd i fyny yn y deml, yn hysbysu i ni y modd y rhagddywedodd Duw i Moses y deuai dwfr allan yn y modd hwn o'r graig." (Hyn. llyfr III., pen. i., adr. 7.) Hefyd wrth son am barhad y dydd, yn ystod brwydr Josua, dywed, "Yn awr, ddarfod i'r dydd gael ei estyn y pryd hyn, a'i fod yn hwy nâ chyffredin, sydd yn cael ei osod allan gan y llyfrau a gedwid yn y deml."

(Hyn. llyfr V., pen. i., adr. 17.) Gan mai yn llyfr Josua y ceir hanes y frwydr fu rhyngddo a'r pum brenin, ac estyniad y dydd, dengys y dyfyniad uchod fod llyfrau ereill, heblaw pum llyfr Moses, yn cael eu cadw ger bron yr Arglwydd.

Gyda golwg ar gasgliad llyfrau yr Hen Destament at eu gilydd, nid yw y gwirionedd ei hun yn ein hysbysu; felly rhaid gwrando pa beth a ddywed hanesiaeth ar hyn, a sylwi pa mor bell y cytuna hyny â dysgeidiaeth y Testament Newydd. Y traddodiad yw, fod synagog fawr yn cael ei gwneyd i fyny o gant a hanner o aelodau, yn bodoli yn amser Ezra, a chan fod Haggai, Zechariah, a Malachi, yn gydoeswyr ag Ezra a Nehemiah, eu bod hwy yn perthyn i'r synagog, ac yn gynnorthwywyr iddynt yn mherffeithiad y casgliad; ac i un a elwid Simon y Cyfiawn ac ereill ychwanegu ysgrifeniadau Ezra a Nehemiah atynt, ac felly orphen a chloi i fyny ganon yr Hen Destament. Bernir hefyd i Ezra a'i gydlafurwyr ranu yr Ysgrythyrau i dri dosparth, sef y gyfraith, y prophwydi, a'r cyfansoddiadau ereill, sef y llyfrau hanesiol a'r Salmau. Ceir crybwylliad am y dosbarthiad hwn yn Josephus, ac y mae traddodiadau Iuddewig yn unfarn yn ei briodoli i Ezra. Mae yn dra thebyg mai yn y ffurf hwn y bodolai yn amser yr Arglwydd Iesu, oblegyd cawn ef, cyn iddo ymadael â'i ddysgyblion oddiar yr Olewydd i'r gogoniant, yn cyfeirio atynt yn y geiriau hyn: "Bod yn rhaid cyflawni pob peth a ysgrifenwyd yn nghyfraith Moses a'r prophwydi, a'r Salmau, am danaf fi." (Luc xxiv. 44).

Yr hyn sydd yn bwysig yn mhellach ydyw, profi i foddlonrwydd fod holl lyfrau yr Hen Destament fel y maent

genym ni yn bresenol, yn cael eu cynnwys yn y dosparthiad triphlyg uchod. I'r dyben yma, nyni a ymneillduwn i roddi lle i'r hynafiaethydd Iuddewig i draethu ei dystiolaeth ar y mater pwysig hwn etto. "Nid wyf yn ystyried fod ychwaneg nâ dau-ar-hugain o lyfrau ag yr ydym ni yn rhwym i'w credu; ac yn y rhai hyn y cynnwysir hanes y byd o'i ddechreuad hyd yr amser presenol. O'r ddau-ar-hugain yma, cymmerir pump i roddi hanes am greadigaeth y byd, a chenedliad dynolryw. Yr hanes yma a barhâ hyd farwolaeth Moses, ac y mae yn cynnwys yspaid o gylch tair mil o flynyddau. Pob un o'r prophwydi a ysgrifenodd hanes yr oes yr oedd yn byw ynddi, o farwolaeth Moses hyd deyrnasiad Artaxerxes, mab Xerxes, brenin Persia; a'r hanes yma a gynnwysir mewn tri-ar-ddeg o lyfrau; a'r pedwar llyfr arall a gynnwysant hymnau dwyfol, a rheolau moesol * * * Yr ydym yn rhoddi cymmaint o barch i'w cynnwysiad â phe buasem yn llygad-dyst o'r amgylchiadau y traethir am danynt; canys nyni a wyddom pa mor hir y maent wedi parhau, heb estyniad na byrhad arnynt, na thraws-symmudiad mewn un modd, a'u hysgrifeniad a gyfrifwn yn ddwyfol; yr ydym yn eu gwahaniaethu wrth yr enw hwn, ac addysgir ni o'n mebyd i'w hystyried yn y cyfryw oleuni, a thalu ufudd-dod dyledus iddynt; ac, os bydd angenrhaid, i ddyoddef marwolaeth drostynt, neu er eu hamddiffyn, yn hytrach nâ gwadu eu dwyfoldeb." (Yn erbyn Apion, llyfr I).

I ddeall y dystiolaeth uchod yn iawn, y mae yn ofynol cadw mewn cof y byddai yr Hebreaid yn rhestru eu llyfrau santaidd yn ddau-ar-hugain mewn rhifedi, er mwyn eu cael o'r un nifer a'r llythyrenau yn y wyddor Hebraeg; (yn

debyg fel y gwneir â'r Salm fawr yn bresenol); a chyflawnent hyn trwy gyssylltu â'u gilydd yn un llyfr amryw o'r cyfansoddiadau ag sydd genym ni yn cael eu cyfrif ar wahan.

Mae ymchwiliad i'r mater hwn wedi dangos fod yr Iuddewon yn trefnu y llyfrau santaidd fel y canlyn yn nyddiau Josephus :—I. Pump llyfr Moses. (1.) Genesis. (2.) Exodus. (3.) Leviticus. (4.) Numeri. (5.) Deuteronomium. II. Y prophwydi. (1.) Joshua. (2.) Barnwyr a Ruth. (3.) 1 ac 2 Samuel. (4.) 1 ac 2 Breninoedd. (5.) 1 ac 2 Chronicl. (6.) Ezra a Nehemiah. (7.) Esther. (8.) Esaiah. (9.) Jeremiah a'r Galarnad. (10.) Ezeciel. (11.) Daniel. (12.) Y Prophwydi lleiaf, deuddeg mewn nifer. (13.) Job. III. Y llyfrau ereill. (1.) Y Salmau. (2.) Y Diarebion. (3.) Llyfr y Pregethwr. (4.) Caniad Solomon. (Gwel Stuart "On the Old Test. Canon," tud. 245, a Dr. Davies ar "Agoriad i'r Ysgrythyrau.") Gwelir fod y dosparthiad uchod yn cynnwys dau-ar-hugain yn ol tystiolaeth Josephus, ac y mae y nifer hwn yn cymmeryd i fewn yr holl lyfrau ag yr ydym ni yn awr yn eu derbyn ac yn eu cydnabod, sef pedwar-ar-bymtheg-ar-hugain. Hefyd, y mae gwaith cynnifer o ysgrifenwyr y Testament Newydd yn gallu cyfeirio mor fynych at, a dyfynu mor helaeth o'r mwyafrif o lyfrau yr Hen Destament, yn brawf eu bod ar gael yn eu cyfanrwydd yn eu hamser hwy.

Fel hyn, er pob dyfais o eiddo breninoedd annuwiol, cyffelyb i Antiochus Epiphanes, ac ereill, ar ol cau i fyny Ganon yr Hen Destament, i geisio ymlid Duw y nefoedd allan o'i berchenogaeth ei hun, trwy ladd yr Iuddewon

duwiol oedd yn preswylio yn Judea a manau ereill, a dinystrio pob llinell o'r gair santaidd y deuent o hyd iddi; yr oedd Ceidwad Israel yn gwylio eu symmudiadau gyda'r gofal a'r manylwch hwnw a sicrhaodd gadwraeth ei wirionedd yn y byd hyd heddyw. Er amser Crist a'i apostolion, y mae llyfrau yr Hen Destament wedi bod yn nghadwraeth Iuddewon a Christionogion, y rhai sydd wedi bod yn hollol wrthwynebol i'w gilydd, fel nad oedd modd i'r naill blaid wneuthur unrhyw gyfnewidiad ynddynt heb i hyny gael ei ganfod yn union gan y llall. Y mae cydgordiad perffaith y pleidiau gwrthwynebol hyn o barthed y canon yn brawf sicr nad oes un cyfnewidiad wedi ei wneyd ynddo.

BELLACH, DEUWN I'R CYFNOD CRISTIONOGOL.

Wrth fyfyrio hanes gwahanol ysgrifenwyr y Testament Newydd, fe'n hargyhoeddir ar unwaith o'r anhawsderau oedd ar y ffordd i gasglu yn nghyd y llyfrau a'i cyfansoddant. Eglur yw, mai Ioan y Difinydd ddarfu gwbleiddio y canon, er na ddygwyd ef i'w sefyllfa bresenol am ganrifoedd ar ol hyny. Ymddengys mai y casgliad cyntaf a wnaed o Ysgrythyrau y Testament Newydd oedd gan un o'r enw *Marcion* tua'r flwyddyn o.c. 150. Ond gan fod gwahanol farnau yn bodoli yn mhlith y Cristionogion boreuol o barth dilysrwydd rhai o'r llyfrau, nid oedd hwn yn gasgliad cyflawn o'r oll o honynt. (Gwel Kurtz, tud. 125.) Gwasanaetha yr enghraifft hon i ddangos pa mor ofalus oedd crefyddwyr y cyfnod dan sylw i beidio caniatau unrhyw ysgrifen i'r canon heb feddu sicrwydd diamheuol ei bod yn gynnyrch ysbrydoliaeth. Nis gallwn wneyd yn well yn y fan hon na dilyn y drefn a osodir i lawr gan

Westcott yn ei waith gorchestol ar Ganon y Testament Newydd, yr hon a fabwysiedir gan amryw o ysgrifenwyr diweddar ar yr un pwnc. Mae yr awdwr dysgedig hwn yn dosparthu y canrifoedd boreuol i wahanol gyfnodau, gan grybwyll rhai o'r prif ddynion oedd yn blodeuo ynddynt.

Y *cyfnod cyntaf.*—Cyrhaedda hwn o'r flwyddyn O.C. 70—170, yn mha un yr oedd y "tadau apostolaidd," Clement, Polycarp, Ignatius, a Barnabas yn byw. Mae llythyrau y tadau hyn yn cynnwys cyfeiriadau at amryw o lyfrau y Testament Newydd, ac yn dangos mai wrthynt hwy y penderfynent bob peth perthynol i athrawiaeth ac ymarweddiad. Yn y cyfnod hwn hefyd y daeth Papias, Dionysius, a Justin Ferthyr ac ereill, i'r maes yn y cymmeriad o amddiffynwyr y Grefydd Gristionogol; y rhai a ddadleuent ei haddasrwydd, ei gwirionedd a'i digonolrwydd ar gyfer angen pwysicaf dynoliaeth syrthiedig, yn annibynol ar gymhorth paganiaeth ac Iuddewiaeth, ac fel y darfu iddynt appelio at lyfrau y Testament Newydd, a dyfynu yn helaeth o honynt.

*Yr ail gyfnod.*—Ymestyna hwn O.C. 170—303, ac ynddo gwelir Irenæus, Clement o Alexandria, Origen ac amryw enwogion ereill, yn gwneyd eu hymddangosiad i wrthsefyll ymosodiadau gwrthwynebwyr yr efengyl. Y mae Origen yn ei gofrestr (*catalogue*) yn crybwyll am holl lyfrau y Testament Newydd, oddigerth epistolau Iago a Judas. Ymddengys mai yn hollol ddamweiniol y cafodd y rhai hyn eu gadael allan, oblegyd wrth ddarllen rhanau ereill o'i ysgrifeniadau, canfyddir eu bod yn cael eu haddef ganddo fel rhan o'r canon. Gwelir felly, fod Origen, yr

hwn a flodeuodd o.c. 185—213, yn gwbl adnabyddus o'r holl lyfrau sydd yn ein Testament presenol ni, ac yn eu cydnabod fel rhai ysbrydoledig.

*Y trydydd cyfnod.*—Y mae hwn yn cyrhaedd o.c. 303—397, sef o ddechreuad yr erlidigaeth o dan yr Amherawdwr Diocletian, hyd y drydedd Gynghorfa yn Carthage. Yn flaenorol i'r cyfnod hwn, yr oedd y Cristionogion wedi mwynhau graddau helaeth o lonyddwch oddiwrth ymosodiadau allanol. Yr oedd crefydd Crist wedi ymledu i bob cyfeiriad, a'i hegwyddorion yn cael eu cofleidio gan yn agos i bob cenedl. Ond dysgir ni nad oedd y seibiant hwn ond cyfleusdra i ymbarotoi ac ymarfogi ar gyfer yr erledigaeth ddychrynllyd a ddilynodd dyrchafiad Diocletian a'i gydbenaduriaid i orsedd Rhufain. Trwy ddylanwad Galerius, ei fab-yn-nghyfraith, ac ystrywiau yr offeiriaid paganaidd, darfu i Diocletian anfon cyhoeddiad allan, yn gorchymmyn tynu i lawr holl addoldai y Cristionogion, llosgi eu holl ysgrifeniadau crefyddol, yn nghyd â'u hamddifadu o'u holl hawliau a'u rhagorfreintiau fel dinaswyr. Eusebius, esgob Cesarea, a hanesydd yr eglwys foreuol a ddywed fel y canlyn:—"Mi a welais â'm llygaid fy hun, y tai gweddi yn cael eu taflu i lawr a'u dinystrio i'w sylfaen, a'r Ysgrythyrau santaidd yn cael eu bwrw i'r tân ar ganol y farchnad." Ereill a ddywedant fod y triniaethau chwerwon ac amrywiol a ddyoddefodd y rhai a wrthodent roddi i fyny eu llyfrau cyssegredig ar orchymmyn yr awdurdodau, yn anmhriodol i'w hadrodd. Ond er poethed yr erlidigaeth hon, gofalodd y Duw Mawr am ei wirionedd, a daeth allan o honi fel y llanciau o ffwrn Babylon heb sawr y tân arno. Yn lle llwyr ddifa y llyfrau cyssegredig o'r byd, bu y

prawf tanllyd hwn yn foddion i'w dwyn i fwy o sylw nag erioed, ac i wneyd y gwahaniaeth rhyngddynt a'r rhai anysbrydoledig yn fwy amlwg. Pencampwr diweddaf Rhufain baganaidd oedd Licinius, yr hwn oedd un o'r gelynion creulonaf a gyfarfyddodd Cristionogion mewn unrhyw oes. Pe llwyddasai yr adyn hwn i gario allan ei amcanion bwriadedig, a chael teyrnwialen y byd Rhufeinig i'w law, am yr hon yr ymdrechodd mor gyndyn mewn brwydrau olynol, y mae lle i gredu, yn ol hanesiaeth, y buasai i bob olion o'r grefydd Gristionogol gael eu hysgubo yn llwyr allan o'r amherodraeth, os nad o'r byd cyfan. Ond yn y cyfnod bygythiol a chalonrwygol hwn, y cyfnod, meddaf, pan oedd rhaid i ffydd weithredu (os gweithredu o gwbl) yn erbyn pob cysgod o debygolrwydd am waredigaeth; darfu i'r "Hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd" gyfryngu trwy godi amddiffynwr yn mherson Cystenyn Fawr, doethineb a medrusrwydd yr hwn a goncrodd y gelyn a'i luaws milwyr dysgybledig. Os gellir credu fod yr Arglwydd yn ei ragluniaeth ddoeth yn cyfodi personau neillduol ar gyfer adegau pwysig i bleidio egwyddorion crefydd, hyrwyddo ei achos, ac amddiffyn ei bobl rhag cael eu hysglyfaethu gan ffyrnigrwydd eu hymosodwyr; nid yw yn bossibl debygwn nacau i Cystenyn Fawr yr anrhydedd o fod yn un o'r cyfryw. Nid digon gan y dyn rhagorol hwn, ar ol llwyr orchfygu ei elyn paganaidd, oedd diddymu y cyfreithiau erlidigaethus, galw yr alltudedigion adref, ac adferyd iddynt eu meddiannau; ond yn ychwanegol at hyny, darfu iddo adgyweirio addoldai y Cristionogion, ac adeiladu rhai newyddion iddynt ar draul y llywodraeth yn lle y rhai a ddinystrasid gan y paganiaid

erlidgar,* ac er bod yn ddewisol ganddo i'w ddeiliaid fabwysiadu y grefydd a broffesai efe, etto, cyhoeddodd ryddid i bawb addoli yn ol arghoeddiad eu cydwybodau.

Gorchwyl cyntaf Cystenyn ar ol i'w ddychymmyg weled llun y groes yn y ffurfafen, oedd ymroddi i ddarllen yr Ysgrythyrau dwyfol. "Os oedd yr amherawdwr blaenorol yn gwneyd ei egni i losgi yr oraclau ysprydoledig, rhoddodd efe orchymmyn i'w lluosogi a'u haddurno ar draul y llywodraeth, ac ar ol sylfaenu Caer Cystenyn, gorchymynodd i Eusebius barotoi deg-a-deugain o gopïau o'r Ysgrythyrau at wasanaeth yr eglwysi, wedi eu hysgrifenu ar femrwn, ac yn gyfleus i'w defnyddio.

Rhwng y blynyddoedd o.c. 390 a 419, ni chynnaliwyd dim llai nâ chwech o gynghorau yn Affrica, a phedwar o'r rhai hyn yn Carthage. Yn y drydedd gynghorfa (397) cynnwysai un o'r penderfyniadau restr o lyfrau y Testament Newydd :—"Penderfynwyd nad oedd dim i'w ddarllen yn yr eglwysi ond llyfrau canonaidd yr Ysgrythyrau. A llyfrau canonaidd y Testament Newydd ydynt y pedair efengyl, Actau yr apostolion, tri-ar-ddeg o epistolau Paul, ac un epistol gan yr un (awdwr) at yr Hebreaid, dau epistol gan Pedr, tri gan Ioan, un gan Iago, un gan Judas, a'r Dadguddiad gan Ioan." Gwelir oddi-

* Ymddengys i'r Ysgrifenydd mai yr uchod yw yr ennghraifft gyntaf o dan yr oruchwyliaeth efengylaidd o arian y llywodraeth wladol yn cael eu defnyddio tuag at achosion crefyddol. Caredigrwydd Cystenyn yn gwneyd math o iawn i grefyddwyr gorthrymedig y cyfnod hwnw, am y difrod a wnaed ar eu heiddo gan eu gelynion paganaidd fu yn achlysur i'r arferiad annheilwng sydd erbyn hyn mor boblogaidd—cynnaliaeth crefydd o gyllid y wladwriaeth.

wrth y dyfyniad uchod fod llyfrau y Testament Newydd fel y maent genym ni yn cael eu cydnabod a'u derbyn yn mlynyddoedd olaf y bedwaredd ganrif; ac yn y ffurf yma y defnyddiwyd hwynt gan Jerome ac Awstin—dau brif enw diwedd y bedwaredd a dechreu y bummed ganrif; a thrwy eu dylanwad, derbyniwyd hwynt pa le bynag y siaredid yr iaith Ladin—yn Ffrainc, Yspaen, ac hyd y nod yn Mhrydain a'r Iwerddon. Mae yr holl hanes yn wers bwysig am ofal Pen yr eglwys am ei air santaidd.

Yr ydym bellach wedi dilyn yr Ysgrythyrau i lawr trwy y prawfion mwyaf tanllyd fu arnynt, a'r cyfnodau mwyaf peryglus yn eu hanes; nid yn gymmaint am fod ffyrnigrwydd y gelynion wedi lliniaru, na'u syched am eu difodiad wedi lleddfu, oblegyd cawn enghreifftiau i amryw gynnygion i'r un perwyl gael eu gwneyd ar ol hyn; ond fod y chwilio manwl fu ar Air Duw yn y cyfnodau dilynol, a'r lluaws cyfieithiadau fu arno i wahanol dafodieithoedd cenedloedd y gwledydd yn sicrhau iddo hir hoedledd ar y ddaear er gwaethaf ei holl ymosodwyr. Pa mor awyddus bynag y bu y torfeydd gelynol i ddinystrio y llyfr a groesai eu mesurau, ac a'u haflonyddai yn yr ymarferiad o bob anwiredd—y llyfr a wrthwynebai eu rhagfarnau—a roddai atalfa ar eu nwydau pechadurus—a gyhoeddai ddoethineb y byd hwn yn ffolineb—a wnai drin ei erlyniadau mwyaf difrifol a phwysig, megys barbaraidd ac ofergoelus, ni bu llwyddiant eu holl geisiadau yn agos gyfartal i'w hewyllys a'u hymdrechion.

Mae y Beibl yn aros hyd y dydd heddyw yn wrthddrych o barch ac arswyd i ddynion, cyfeiliornadau y rhai a

gondemnia, ac yn erbyn ffyrdd drygionus y rhai y cyhoedda ddialedd cyfiawn y nef. Ac er buddugoliaeth Ariaeth, y mae genym ar gael yr holl ymadroddion hyny sydd yn profi cyfartalwch a chyd-uwchafiaeth y Mab a'r Tad; ac er i Annghrist deyrnasu mewn rhwysg ac awdurdod dros amryw oesau, a mwynhau y cyfleusderau mwyaf ffafriol yn nghanol dygn anwybodaeth a hygoeledd dynolryw, i lygru yr Ysgrythyrau santaidd, yr ydym yn alluog oddiwrthynt hwy eu hunain heb gynnorthwy ysgrifeniadau y tadau eglwysig i brofi Eglwys Rhufain yn euog o wrthgiliad oddiwrth ffydd a symledd yr efengyl, a phrofi ei hathrawiaethau a'i harferion yn dwyllodrus a choelgrefyddol.

Canfyddwn law Duw yn cadw y gwirionedd rhag pob niwed gyda diwydrwydd diflino, oblegyd ei fod yn ddadguddiad o'i ewyllys, a'r unig gyfrwng trwy yr hwn y dichon dynion gael gwybodaeth gyflawn a digamsyniol o hono ef yn y cymmeriad gogoneddus o Waredwr pechaduriaid, a'r modd i'w wasanaethu yn gymmeradwy. Y nawdd a estynodd yr Arglwydd i'r llyfr hwn sydd dystiolaeth ei fod yn ei gydnabod fel ei eiddo ei hun. Pe buasai yn gynnyrch meddwl dynol, ni roddasai rhagluniaeth fenthyg ei chynnorthwy i wneuthur i dwyll basio yn y byd megys dadguddiad pur oddiwrth Dad y goleuni. "Amlwg yw," meddai Dr. Owen yn ei "Reason of Faith," fod gan Dduw, yn mhob oes barch mawr i'w air, ac iddo osod ei ofal a'i allu ar waith i'w ddyogelu." Pe na buasai y Beibl yr hyn ag yr ymhona ei fod, ni fuasai dim yn fwy addas i natur Duw, ac yn fwy gweddus i ragluniaeth ddwyfol, nâ'i ddileu er's hir amser allan o'r byd. Canys i oddef llyfr yn y byd am gynnifer o oesau yn honi yn dwyllodrus enw ac awdurdod

y Goruchaf, a llithio rhan mor fawr o ddynolryw i wrthgiliad dinystriol oddi wrtho ef, fel y rhaid ei fod wedi ac yn gwneyd, os nad ydyw o darddiad dwyfol, a gosod torfeydd o'r cymmeriadau goreu, doethaf, a difrifolaf, yn eu plith yn agored i bob math o druenusrwydd gwaedlyd a oddefasant yn ei blaid,—a ymddengys yn annghysson â'r daioni, y doethineb, a'r gofal anfeidrol â pha un y llywodraethir y byd hwn oddi uchod. Ond, yn y gwrthwyneb, pryd y mae dichell faleisus Satan, a holl ddyfeision a chynddaredd dynolryw wedi eu cymhlethu a'u gosod ar waith er hollol ddinystrio y llyfr hwn; etto, trwy ofal gwyliadwrus duwiolion yr oesau, ac amddiffyniad Duw y nefoedd drosto, efe a gadwyd hyd heddyw, ac a gedwir hyd ddiweddiad pob peth.

Tra y mae y pedair unbenaeth fawr, gyda'u holl rwysg a'u gogoniant wedi myned heibio; cof-adeiladau teg celfyddyd, y rhai a fawrygwyd o herwydd eu prydferthwch, wedi eu dinystrio; lluaws o weithiau dysgedig dynion enwog wedi eu colli; a defodau ac arferion cenedloedd mawrion wedi eu hollol gyfnewid, y mae gair Duw wedi aros, ac o hyd yn sefyll mewn cyflwr uchel o gadwraeth. Er i baganiaid erlidigaethus amcanu droion at ei ddinystr, ac er i Babyddion dros dymhor ei gloi i fyny rhag y werinbobl, y mae yn sefyll o hyd, a saif byth. "Canys pob cnawd fel glas-welltyn yw, a holl ogoniant dyn fel blodeuyn y glaswelltyn. Gwywodd y glas-welltyn, a'i flodeuyn a syrthiodd Eithr gair yr Arglwydd sydd yn aros yn dragywydd."

Bydded i ni sydd yn ei feddu, ac yn mwynhau pob llonyddwch a chyfleusdra i'w ddarllen, ei fyfyrio a'i ddeall, ystyried ein rhwymedigaeth iddo, a gwneyd defnydd priodol

o hono. Bydd y fantais o'i feddu yn troi yn anfantais yn y byd dyfodol os ceir ni yn euog o anwybyddu ei gyfarwydd-iadau, diystyru ei gynghorion, ac anufuddhau i'w alwadau santaidd, "oblegyd cynnifer ag a bechasant yn ddiddeddf, a gyfrgollir hefyd yn ddiddeddf; a chynnifer ag a bechasant yn y ddeddf, a fernir wrth y ddeddf." Anffawd i ni oedd disgyniad ein coelbren yn ngwlad efengyl os nad ymdrechwn fod o nifer "gwneuthurwyr y gair" cyn gwynebu yr hwn a'i rhoddes ac a'i dyogelodd er ein mwyn, yn y farn fawr. Bydded geiriau y Salmydd, gan hyny, yn arwyddair i ni oll, "Cymmerais dy orchymmynion yn etifeddiaeth dros byth; o herwydd llawenydd fy nghalon ydynt."

---

*Trwy ganiatad yr awdwr, Mr. R. Smith Lewis (Homo Ddu), Llwynypia, anrhegwn y darllenydd â'i bennillion penigamp ar y mater fu dan sylw.*

"Hen gyfrol fendigaid sy'n cario meddyliau
Y nefoedd am hanes a chyflwr y byd;
Wyt hen ac wyt wreiddiol—mor wreiddiol a gallai
Angylion a dynion dy gasglu yn nghyd;
Yn fynych dy eiriau dros dafod yr angel
Ddyferant yn esmwyth i glustiau y dyn,
Neu ynteu o'r cwmwl, neu trwy y llais dystaw,
*Jehofah* adroddai ei feddwl ei hun.

Proffwydi wlychasant eu hawen yn neithdar
Pur ysbrydoliaeth y nefoedd ei hun;
Ië, Duw ysgrifenodd â'i fys ar y llechau,
Y gyfraith cyn hyny a dorwyd gan ddyn;

O! Lyfr y llyfrau! Duw, engyl, a dynion,
  Fu'n llunio a chasglu dy gynnwys yn nghyd;
Athrylith y nefoedd sy'n cynneu dy eiriau,
  Yn gwneuthur dy eiriau'n anfeidrol o ddrud!

Llawn wyt o amrywiaeth fel natur ei hunan,
  Yn cynnwys yr uchel, y dwfn, a'r clir;
O'th fewn y desgrifir gofidiau yr anial,
  Ac ynot dangosir y Ganaan—bell dir;
Cân Moses a Miriam, mor fyw, mor gynhyrfus
  Ceir ynddi ruadau cynddeiriog y môr,
Ac ynddi mae tangnef y bobl sy'n credu—
  Yn buddugoliaethu drwy nerthoedd yr Iôr.

Athrylith y bugail a dyfodd yn frenin,—
  A dyfodd yn brif-fardd i holl eglwys Dduw,
Sydd ynot; ac ynddi y ceir holl deimladau
  Duwiolion tra byddont mewn anial yn byw;
A geiriau Esaiah, mor bur y maent heddyw
  Yn gloewi'th ddalenau—yn goglais ein bron;
Yn arwain y meddwl i lawr ac i fyny,
  Trwy holl amrywiaethau y prudd, dwys, a'r llon.

Iê, ti sy'n croniclo y geiriau ddylifodd
  Fel mêl-wlith bendithiol dros enau'r Duw-ddyn!
Adroddi ei hanes, ei fywyd, a'i angeu,—
  Dangosi allweddau y bedd wrth ei glun;
A thrwot y gwelwn trwy ddyffryn marwolaeth,
  I dir anfarwoldeb—lle nad oes un bedd;
A lle nad oes cwmmwl yn dyfod i hofran
  Trwy'r awyr i bylu iachusrwydd eu gwedd.

Cynneuwyd coelcerthau o bwrpas i'th losgi,
Crechwenodd cythreuliaid wrth weled y tân
Yn ysu'th ddalenau—yn llosgi dy gloriau,
Gan feddwl darfyddai am danat yn lân;
Ond daethost drwy'r fflamiau—ni fedrai cynddaredd
Dy rwymo na'th ddifa—anfeidrol wyt ti!
Rhaid ydyw i'th eiriau gael myn'd fel yr awel
O begwn i begwn i'r byd, a chael bri.

O! nefoedd, rho imi gynnorthwy i ddarllen
Fy Meibl, a gwrando lleferydd fy Nuw;
O! bydded i mi yn arweinydd trwy'm bywyd,
Nes cyrhaedd Paradwys dragywyddol i fyw;
Fe rydd ei gynghorion bleserau mewn gofid,
A dyry ei wersi adfywiad pan f'o
Y clefyd diweddaf yn gyru fy mhabell
Am dymhor i orwedd dan fantell y gro."

## TRAETHAWD II.

---

### CEFNOGWYR DECHREUOL YR YSGOL SABBOTHOL.*

PAN oedd cenedl Israel bron ar ben ei thaith o'r Aifft i Ganaan, dim ond lled yr Iorddonen rhyngddi a bod yn y wlad addawedig, gorchymmynodd Moses iddi gofio yr holl ffordd yr arweiniodd yr Arglwydd ei Duw hi ynddi y deugain mlynedd hyny, trwy yr anialwch (Deut. viii. 2.) Gwaith dyddorol i gymdeithasau crefyddol, yn gystal ag i genedloedd a phersonau unigol, ydyw tremio yn ol yn awr ac eilwaith ar eu hymdaith bererinol trwy yr anialwch. Bydd hyn yn fantais iddynt i adolygu eu diffygion yn gystal â mawrygu yr Arglwydd am ei ffyddlondeb. Mae yr Ysgol Sabbothol yn bwnc amserol bob amser, ac nid oes modd dweyd gormod am ragoroldeb y sefydliad, nac iddo un amser fyned allan o ddyddiad. Dyma ein rheswm dros ychwanegu ysgrif arall at y lluaws ysgrifau cynnwysfawr sydd wedi ymddangos ar y pwnc.

Deugain mlynedd oedd gan feibion Israel i'w cofio, ond y mae genym ni driugain arall i'w hychwanegu atynt, y rhai trwy weithgarwch ein cenedlgarwyr hunanymwadol, a'n gosodant yn y cyflwr dedwydd ein gwelir ynddo yn bresenol

---

* O *Seren Gomer*, 1881.

mewn dysg a gwareiddiad. Nid gorchwyl hawdd yn yr oes fanteisiol ac uchelfreintiog hon ydyw sylweddoli agwedd foesol a chrefyddol y werin-bobl yn y dywysogaeth gan' mlynedd yn ol. Yn eu hagwedd naturiol dichon fod pethau yn aros fel yr oeddent—y mynyddoedd yn eu hunfan—yr afonydd yn rhedeg trwy yr un gwelyau, ac i'r un cyfeiriad—arwynebedd y dyffrynoedd yn parhau fel cynt yn eu ffrwythlondeb a'u tlysni ; ond mewn ystyron ereill, mae y can' mlynedd diweddaf wedi gwneyd dirfawr wahaniaeth yn y wlad a'r byd. Pethau dyeithr i'n tadau oedd y brysfynag trydanol, rheilffyrdd, agerbeiriannau, goleuni nwy, &c. Ac am addysg elfenol a chrefyddol y werin, darpariaeth i benau a chalonau pobl dlodion, nid oedd ond y peth nesaf i ddim o sylw yn cael ei dalu iddynt. Mae genym awdurdod Ysgrythyrol dros ddweyd mai y Sabboth yw y dydd goreu o'r saith yn nghyfrif Duw. Gorphwysodd arno, a santeiddiodd ef, gan orchymmyn i ddynion wneyd yr un peth. Ond yn flaenorol i gychwyniad y sefydliad hwn, y Sabboth oedd y dydd a gamddefnyddid fwyaf gan y rhan luosocaf yn y deyrnas hon. Eu gwaith ar ddyddiau yr wythnos oedd dyfeisio cynlluniau drygionus, a'u gwaith ar y Sabboth oedd eu cario i weithrediad. Clywed hyn gan wraig y garddwr gyffrodd feddwl puraidd Robert Raikes, Caerloyw, tuag at gychwyn yr Ysgol Sabbothol. Dechreuodd y sefydliad gyda phedair o athrawesau, i'r rhai y telid swllt y tro am eu gwasanaeth. Cyfrifir heddyw fod tua thri chan' mil o athrawon ac athrawesau yn y Deyrnas Gyfunol, a buasai talu y rhai hyn yn cyrhaedd y swm o £15,000 bob Sabboth. Ond beth yw y ffaith ? Mae y 300,000 hyn, yn lle derbyn tâl arianol, yn gymhwynaswyr gwirfoddol i'r sefydliad, ac yn ddiolchgar am y

cyfleusderau o gael planu egwyddorion moesoldeb a chrefydd yn meddyliau egin cymdeithas.

Mae dechreuad yr Ysgol Sabbothol, sefydliad yr hon a goffadwriaethwyd y llynedd (1880), yn cael ei phriodoli i'r enwog R. Raikes, Caerloyw. Fel cyfundrefn (*system*), dichon mai efe oedd ei chychwynydd ; er y credwn na wnawn gam â'r dyngarwr wrth ddweyd fod y *meddylddrych* o hyfforddi ieuenctyd yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd ganrifoedd lawer yn hynach nag ef. Mae yr egwyddor can hyned â Gair Duw ; gorchymmyn diweddaf Pen yr Eglwys i'r apostolion oedd myned i'r holl fyd a dysgu yr holl genedloedd. Dysgir ni gan hanesyddiaeth gyffredin fod cyfarfodydd athrawiaethu ieuenctyd yn yr Ysgrythyrau mewn cyssylltiad â'r Eglwysi Cristionogol mor foreu â'r ail ganrif, ac oddiyno i lawr hyd ddyfodiad yr oesoedd tywyll —gwnaed hyn o'r chweched hyd y bymthegfed ganrif mewn amryw fanau.

Yn yr 16eg ganrif, ceir hanes am un Charles Borromeo, Archesgob Milan, yn sefydlu nifer o Ysgolion Sabbothol yn ei Esgobaeth. Bu y gwr hwnw farw yn y flwyddyn 1584, yn 46 mlwydd oed, ond dywedir fod rhai o'i Ysgolion yn parhau yn yr Esgobaeth hono hyd y dydd hwn. Yr oedd y Parch. Joseph Alleine, yr Annghydffurfiwr enwog o Taunton, ac awdwr "*Alarm to the Unconverted*," yn blodeuo yn agos i gan' mlynedd yn flaenorol i Raikes. Mabwysiadodd yntau y cynllun o gasglu ieuenctyd yn nghyd i'w haddysgu yn mhethau crefydd ar ddydd yr Arglwydd. Amryw flynyddoedd cyn geni Raikes, crybwyllir am foneddiges yn swydd Gaerloyw, o'r enw Catherine

Boevey, yn difyru ei hun i addysgu ieuenctyd ar y dydd Sabboth, gan ddilladu a phorthi y dosparth tlodion o honynt. Yn America hefyd, ceir hanes sefydliad Ysgol Sabbothol yn mhlith Bedyddwyr y Seithfed Dydd mor gynar â'r flwyddyn 1740—1747. Dechreuwyd hi mewn lle o'r enw Ephrata, swydd Lancaster, talaeth Pennsylvania, gan un o'r enw Ludwig Hacker; parhaodd i flaguro hyd doriad allan y rhyfel rhwng gwladwyr y Taleithiau a'r byddinoedd Prydeinig yn y flwyddyn 1777, ar derfyn yr hon y trowyd yr Ysgoldy yn Ysbytty (*Hospital*) i wella clwyfedigion rhyfel. Pa beth a ddaeth o'r ysgol mewn canlyniad i hyn, nis gwyddom gyda sicrwydd.

Yn y flwyddyn 1763—4, sefydlwyd Ysgol Sabbothol yn Catterick, swydd York, gan y Parch. Theophilus Lindsey, mewn undeb â boneddiges haelfrydig o'r enw Cappe. Miss Hannah Ball hefyd a gychwynodd Ysgol Sul yn y flwyddyn 1769, yn ei thref enedigol, High Wycombe. Mewn gohebiaeth fu rhynddi a'r Parch. John Wesley yn y flwyddyn 1770, cawn iddi ddweyd a ganlyn: "Cyferfydd y plant ddwy waith yn yr wythnos, Sabboth a Llun. Maent yn gwmpeini lled afrywiog i fod yn eu swn, er hyny ymddangosant yn foddlon i gymmeryd eu dysgu. Yr wyf yn llafurio yn ddifrifol yn eu plith, mewn awydd i hyrwyddo llwyddiant Eglwys Crist." Ac yn y flwyddyn 1778, dywedir fod gan y Parch. Thomas Stock, Ysgol Sabbothol yn Ashbury, swydd Berk, yr hwn wedi hyny a fu yn gydweithiwr â Raikes yn Nghaerloyw. Wedi cyrhaedd hyd yma, dichon nad annyddorol gan y darllenydd fyddai cael cipdrem frysiog ar brif hanes yr enwog

## ROBERT RAIKES.

Yn nhref Caerloyw y gwelodd R. R. oleuni dydd gyntaf, a hyny ar Medi 14eg, 1735. Mab hynaf ydoedd i foneddwr o'r un enw, yr hwn ydoedd berchenog, golygydd, ac argraffydd newyddiadur o'r enw "*Gloucester Journal.*" Ymddangosodd y rhifyn cyntaf Ebrill 9fed, 1722, yr hwn yn ol trefn amser oedd y nawfed o bapyrau talaethol yn y Deyrnas Gyfunol. Mae anfanteision cenedl y Cymry i'w gweled yn amlwg yn y gorphenol, pan gofir fod y papyr dan sylw (ac efe yn nawfed), yn 92 mlwydd oed pan freintiwyd hi â'r pelydryn cyntaf o oleuni yn y ffurf o newyddiadur wythnosol yn yr holl dywysogaeth yn nghyhoeddiad "SEREN GOMER," Ionawr 1af, 1814. Er yn diolch am oleuni pan y daeth, nis gallwn lai nâ gresynu am ddiweddarwch ei ymddangosiad. Yr oedd treth y papyr, a'r doll uchel a delid i'r Llywodraeth am hysbysiadau *(advertisments)*, yn ei wneyd yn gryn anturiaeth y pryd hyny i ddwyn allan newyddiadur. Er hyny, nid hir y bu ymdrech a diwydrwydd Raikes cyn sicrhau i'r cyhoeddiad gylchrediad cyffredinol dros swydd Gaerloyw a'r siroedd cymmydogaethol. Ofnai rhyw ffarmwr nad oedd y masnachwyr ac ereill yn darllen ond ychydig ar y Beibl, tra y gwyddai fod eu trwynau byth a hefyd yn y newyddiaduron; a dymunai am gongl fechan o'r newyddiadur hwn at wasanaeth yr Ysgrythyrau canlynol: "Bydded i chwi glorianau cyfiawn, pwysau cyfiawn, ephah gyfiawn, a hin gyfiawn:" Lef. xix. 36. "Amryw bwysau, ac amryw fesurau, ffiaidd gan yr Arglwydd bob un o'r ddau:" Diar. xx. 10. Diau, pe buasai yr hen frawd yn aros hyd heddyw, y cawsai fwy o achos cwyno nag yn ei ddyddiau ef.

Nid oedd y pryd hyny, nac am dymhor wedi hyny ganiatad,

i gofnodi gweithrediadau y Senedd ; ac o herwydd troseddu y ddeddf hon, trwy gyhoeddi gohebiaethau a ddanfonid iddo o'r mesurau a fabwysiedid, gwysiwyd Raikes ddwy waith i ymddangos ger bron yr awdurdodau yn Llundain. Rhyddhawyd ef y tro cyntaf ar ychydig gostau, ac ni ymddangosodd yr ail waith o herwydd afiechyd, a phrofodd i foddlonrwydd yr awdurdodau, i'r ohebiaeth achwynedig gael ei chyhoeddi gan y gwas heb yn wybod iddo, ac mewn anufudd-dod i'w waharddiad ar ddechreu y Senedd dymhor. Derbyniwyd y mynegiad hwn fel gwirionedd, ac arbedwyd ef i ymddangos yn y llys. Profodd Raikes ei hun yn ddyngarwr gonest, yn gystal ag yn fasnachydd llwyddiannus; pryd bynag y byddai galwad am bleidio cyfiawnder, a dynoethi trais a gorthrwm, ceid ynddo ef y cefnogydd a'r ymosodydd parod a di-ildio. Byddai colofnau ei newyddiadur yn agored i ohebiaethau o bob cyfeiriad, ac oddiwrth bob dosparth; a chyn bod son am orchestion gwronaidd yr enwog John Howard parthed carcharau y gwledydd, deffroai sylw y wlad at gyflwr gresynol carchardy ei dref, yn nghyd â'r modd annynol yr ymddygid tuag at y carcharorion. Pleidiai yn ddiwahaniaeth bob achos elusengar a ddygid i'w sylw. Cafodd ei gyhoeddiad ei anrhydeddu â chynnyrchion meddyliol George Whitefield pan nad ydoedd ond glaslanc yn parotoi i'r Eglwys Sefydledig. Pan ddaeth Raikes, cychwynydd cyfundrefnol yr Ysgol Sabbothol, i'r byd yn 1735, yr oedd y newyddiadur dan sylw wedi bod ar y maes, ac mewn cylchrediad llwyddiannus am dros dair blynedd ar ddeg. Ar farwolaeth y tad yn 1757, syrthiodd yr holl gyfrifoldeb ar ysgwyddau y mab, pan nad oedd ond 22 mlwydd oed. Ond buan y profodd fod ei alluoedd mas-

nachol a golygyddol yn gyfartal i'r gofynion, a chyn pen nemawr o amser, daeth i feddu rhai o'r safleoedd pwysicaf allasai ei dref enedigol fforddio iddo. Ymroddodd i wasanaethu ei genedl yn y cyfeiriad hwn am 45 mlynedd wedi marwolaeth ei dad. Yn y flwyddyn 1802, pan yn 67 mlwydd oed, trosglwyddodd y fasnach i ofal Mr. D. Walker, a derbyniodd yntau oddiwrthi flwydd-dal o £300 dros weddill ei ddyddiau. Nodweddid y newyddiadur gan chwaeth o'r radd uchelaf, ac, yn wahanol i gyhoeddiadau o'r un natur y dyddiau hyny, ni oddefid llychwino ei dudalenau gan fryntiaith ac ensyniadau personol. Dywedir ei bod yn ffaith, na cheir ynddo gymmaint ag un ennghraifft o enllib a difriaeth bersonol trwy gydol y blynyddoedd y bu dan arolygiaeth Raikes. Mae hyn, heb son am ddim arall, yn adlewyrchu clod nid bychan i'w goffadwriaeth.

Cafodd carcharorion Gloucester a'r deyrnas yn gyffredinol yn Raikes noddwr ac amddiffynwr ffyddlon. Dichon mai ei ymweliad cyntaf â charcharau y ddinas ddysgodd iddo y cyssylltiad uniongyrchol sydd rhwng anwybodaeth a throseddau, a'r anfuddioldeb o gospi'r troseddwr heb geisio symmud yr achos o'r drygau. Mae yr adroddiad a geir o gyflwr afiachus y carcharau, a'r modd barbaraidd yr ymddygid at garcharorion y dyddiau hyny yn galonrwygol i'r eithaf. Cyfyngid ugeiniau o honynt gyda'u gilydd i ystafelloedd cynnwys, oerion, tywyll, ac afiach, dros wythnosau a misoedd yn olynol, ac nid oedd marwolaethau o ddiffyg ymborth a glanweithdra ond dygwyddiadau mynych. Gwnaeth Raikes ddefnydd helaeth o'i newyddiadnr i ddynoethi creulonderau, yn nghyd ag apelio at gydymdeimlad boneddigion am roddion er lleddfu loesion y trueiniaid ; a bob amser wrth

estyn elusen iddynt, gofalai gyda llaw am gynghor, neu wers ar ddrwg pechod. Nid oedd ceidwaid carcharau y pryd hyny yn derbyn cyflogau oddiwrth y Llywodraeth; yn hytrach talent £4 14s. i'r Uchel Sirydd am eu swyddau. Eu bywioliaeth oedd yr elw a dderbynient oddiwrth werthiant bwydydd a diodydd meddwol i'r carcharorion.

Trwy gydymdrech John Howard, Syr George Paul, Robert Raikes, a dyngarwyr ereill, cafwyd diwygiadau yn nglyn â hyn. Yn y flwyddyn 1774, cariwyd dau fesur trwy y Senedd, y naill i ddiddymu gwobrwyon y ceidwaid, yn ol yr arferiad rhag-grybwylledig, a phennodi iddynt gyflogau sefydlog allan o'r trethoedd sirol—a'r llall yn awdurdodi heddynadon i ofalu am lanweithdra carchardai, a sefydlu ysbyttai yn nglyn â hwy er ymgeleddu carcharorion afiach. Dyma ni wedi gwyro ychydig oddiwrth ein pwnc, ond dychwelwn etto.

Ymddengys i'r Ysgol Sabbothol gyntaf yn Nghaerloyw gael ei sefydlu gan Raikes yn Ngorphenaf, 1780, yn nhŷ Mr. King, goruchwyliwr Mr. Pitt, A.S., yn St. Catherine's Meadows, yn cael ei gynnorthwyo gan y Parch. T. Stock a grybwyllwyd yn barod. Cychwynwyd hi mewn canlyniad i ymddyddan a gymmerodd le rhwng Raikes a gwraig rhyw arddwr o'r gymmydogaeth yn nghylch cyflwr isel ac anwaraidd y plant. "Pe gwelech," meddai wrtho, "y rhan hon o'r dref ar y dydd Sabboth, chwi a synech yn wir; mae yr ystrydoedd yn llawnion o'r truenusion hyn ar y dydd hwnw, y rhai, trwy fod yn rhydd oddiwrth eu gorchwylion dyddiol, yn eu hiaith a'u hymddygiadau anfoesol a gyfleant i'r meddwl ystyriol y syniad o uffern,

yn hytrach nag unrhyw le arall." Sicrhawyd gwasanaeth Mrs. King fel athrawes am 1s. a 6ch. y Sabboth, yr hyn a delid gan y ddau foneddwr uchod,—swllt gan Raikes a chwe' cheiniog gan Stock. Gwasanaethodd y wraig hon y swydd athrawol hyd ddydd ei marwolaeth, yr hyn oedd tair blynedd. Dilynwyd hi yn y swydd gan ei phriod, yr hwn a'i llanwodd am luaws o flynyddoedd. Wrth gofnodi ei farwolaeth, yn 1832, dywed y "*Gloucester Journal*" ei fod yn ddyn o barchedigaeth cyffredinol, yn gymhwynaswr haelfrydig a ffyddlon i'r tlawd, ac iddo gyflawni ei ddyledswyddau athrawol yn deilwng o bwysigrwydd yr ymddiriedaeth.

Sefydlwyd yr ail ysgol gan Raikes ei hun yn mhlwyf St. Mary de Crypt, ar gongl Grey Frairs a Heol Southgate; gwasanaethodd un Mrs. Sarah Critchley yn hon, gyda mawr ffyddlondeb dros amryw flynyddoedd. Y drydedd a sefydlwyd gan Mr. Stock yn mhlwyf St. John the Baptist, ac un arall tua'r un adeg yn mhlwyf St. Aldate. Yn fuan ar ol hyn sefydlwyd amryw mewn gwahanol ranau o'r ddinas, a dilynwyd esiampl y boneddigion hyn gan luaws o gyffelyb feddwl, y rhai a gynnorthwyasant i daenu gwybodaeth trwy dref a gwlad. Yn Nhachwedd, 1784, y gwnaeth Raikes y crybwylliad cyntaf am y sefydliad yn ngholofnau ei newyddiadur. Gellir barnu wrth rediad yr ysgrif fod ei hawdwr yn meddu ar ysbryd hollol ddiymhongar a hunanymwadol; nid ydyw yn crybwyll ei enw ei hun ynddi gynnifer ag unwaith, ond priodola gychwyniad y sefydliad i weinidogion yr Eglwys Sefydledig o wahanol barthau y wlad. Yn rhifyn Mai 24ain, 1784, cawn yr ail grybwylliad yn llawn o r un nodwedd ostyngedig ac o hyny yn

mlaen ceir hysbysiadau mynych am ei lledaeniad, yn nghyd â thystiolaethau ffafriol i'w dylanwad bendithiol ar ymarferion y werin. Bu yn foddion cyn hir i roddi terfyn ar y gloddest-wleddoedd a'r gwylmabsantau oeddynt mor dueddol i lygru moesau ieuenctyd y dyddiau hyny, a daeth y Sabboth i gael edrych arno fel dydd i'w gyssegru yn ngwasanaeth cyssegr Duw. Erbyn hyn, yr oedd meddylddrych Raikes, &c., fel y lefain mewn blawd, wedi lefeinio cymdeithas trwyddi oll yn foneddig a gwreng. Cawn Esgobion Deoniaid, &c., yn cymmeradwyo'r sefydliad i'w hesgobaethau, gan gymhell y clerigwyr i roddi eu dylanwad o'i blaid. Lledodd y pren ffrwythlawn gyda'r fath gyflymdra, fel y dywed un ysgrifenydd perthynol i'r cyfnod fod tua 250,000 yn cysgodi dan ei gangenau pan nad oedd etto ond pedair mlwydd oed. Bellach croeswn y clawdd i

### Gymru Gwlad y Gan.

Nis gall lai na bod yn ddyddorol i'r Cymry ddeall fod galluoedd gwasgaredig ar waith yn y wlad hon i sefydlu Ysgolion Sabbothol rai blynyddau yn flaenorol i ymdrechion canmoladwy Raikes yn Nghaerloyw. Yn *Seren Cymru*, Gorph. 9fed, 1880, dywed y Golygydd fel y canlyn: "Yn Nghymmanfaoedd y Bedyddwyr a gynnaliwyd yn Nghymru rhwng 1651 a 1655, bu y pwnc yn cael sylw neillduol, ac annogid yr eglwysi i ddarparu yn helaeth ar gyfer hyn yn mhob eglwys. Yr oedd Ysgol Sabbothol at ddysgu darllen Gair Duw yn cael ei chynnal o dŷ i dŷ gan Eglwys y Felinfoel rhwng 1700 a 1760. Cynnelid hi o dŷ i dŷ am fod aelodau yr eglwys yn byw mor wasgaredig, ac mor annghyfleus iddynt gyfarfod rhagor nag unwaith ar y Sul yn yr un lle. Cynnelid hon yn aml ar nos Sul." Dywedir

i Ysgol Sabbothol gael ei chychwyn mewn lle o'r enw Crawlwm, yn agos i Lanidloes, yn sir Drefaldwyn, tua chwech neu saith mlynedd yn flaenorol i eiddo Mr. Raikes. Cawn hefyd fod Ysgol Sabbothol yn cael ei chynnal yn Mhwllheli mor foreu a'r flwyddyn 1783, gan un o'r enw John Thomas, yn cael ei gynnorthwyo gan John Roberts (Shon Lleyn y Bardd). Yn y cyfamser yr oedd clochydd Llanor yn chwythu bygythion a chelanedd yn erbyn y gwaith da oddiar gasineb at y gwirionedd, ac ofn iddo leihau dylanwad yr Eglwys Sefydledig. Ar ryw ddiwrnod cyfarfu clochydd Llanor â Shon Lleyn ar ystryd Pwllheli, a chan gau ei ddwrn yn ei wyneb, mewn modd bygythiol, dywedodd wrtho: "Wel, Shon, y mae wedi d'od atat tithau o'r diwedd; yr wyt yn ngafael Cyfraith Bangor. Y maent wedi clywed dy fod yn gweithio ar y Sul." "Ho, pa waith yw hwnw?" gofynai y bardd. "Dysgu plant i ddarllen," oedd yr ateb. I'r hyn yr atebodd y bardd yn ei arabedd parod a'i awen ffraethlawn:

"Taw glochydd y dwl glechor—yn yngan
A'n annghof gwn Bangor;
Cyfarth maen' ewyn mor:
Rho'r llonydd glochydd Llanor."

A dywedir mai llonydd a gaed ganddo byth ar ol hyny. Drachefn yn y flwyddyn 1768, cyn i'r hanes am y mudiad yn Nghaerloyw gyrhaedd y wlad hon, mae'n debyg, cawn fod Ysgol Sabbothol yn cael ei chynnal yn Llanfwrog, sir Fôn, gan un John Thomas (Shon go' Mwrog), yn ei dŷ ei hun, yr Efail, Llanfwrog (gwel y "Fasgedaid Briwfwyd.") Dichon nad gwaith anhawdd fyddai olrhain gweithrediadau o'r natur hyn i ymyriad doeth o eiddo Jehofah yn cyffwrdd â chalonau gwahanol bersonau yn nghylch yr un peth, yn

agos ar yr un amserau mewn gwahanol fanau, ac yn hollol anhysbys o'u gilydd ar y pryd. Yn y cyfnod hwn hefyd yr oedd y Parch. T. Charles o'r Bala yn ymdrechu o blaid yr un sefydliad yn sir Feirionydd a'r cylchoedd. Tua dechreu y flwyddyn 1784, cafodd Mr. Charles guradiaeth Llanymawddwy; ond yn fuan, o herwydd ei fod yn egwyddori plant yn Ngair Duw bob Sabboth ar ol y gosper, neu y brydnawnol weddi, achwynid arno gan rai o'r plwyfolion, yr hyn a barodd i'r periglor rhoddi rhybudd iddo i ymadael. Mewn canlyniad i hyn, ar ol ymgynghoriad pwyllog â rhai o'i brif gyfeillion, tueddwyd ef i fwrw ei goelbren yn mhlith y Methodistiaid, gan gredu ei fod yn gweithredu yn ol arweiniad rhagluniaeth y nef. Fel hyn y dywed, mewn llythyr, dyddiedig Mehefin 12fed, 1784: "Y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeutu, rhwng gadael yr eglwys ac aros ynddi. Wedi cael fy nhroi allan o dair o eglwysi yn y wlad, ac heb obaith o gael un arall, pa beth a wnaf? Yn yr eglwys ddiweddaf a wasanaethais, bum dri mis. Cafodd yr efengyl ei bendithio yn fawr yno, fel y mae pethau yn ymddangos yn bresenol. Y mae y bobl yn gwaeddi arnaf yno dan wylo, am eu porthi hwynt â bara y bywyd. Pa beth a wnaf? Y mae geiriau Crist yn swnio yn barhaus yn fy nghlustiau, 'Portha fy wyn.' Yr wyf yn meddwl fod fy nghalon yn barod i ymaflyd yn y gwaith, bydded y canlyniad a fyddo." (Gwel "Hanes Cymru," tud. 308, &c.)

Gwasanaetha y dyfyniad uchod i ddangos prif reswm Mr Charles dros ddyfod drosodd o'r Eglwys Sefydledig at Ymneillduaeth. Ymddengys pe cawsai lonydd gan ei frodyr Clerigol i droi allan i'r prif ffyrdd a'r caeau i egwyddori ieuenctyd yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd, yn

hytrach nâ chyfyngu ei weithrediadau rhwng muriau y tir cyssegredig, mai yn yr eglwys y trigasai hyd ddiwedd ei oes. Beth bynag, o'r flwyddyn uchod hyd 1799, teithiodd lawer trwy wahanol barthau y dywysogaeth, yn enwedig y rhanau Gogleddol, i bregethu ac i sefydlu Ysgolion dyddiol a Sabbothol. Er cael golwg frysiog ar berson arall o gyffelyb ysbryd ac ymroad, gwahoddwn y darllenydd i ddeheubarth ein gwlad i sylwi ar

### Morgan John Rhys.

Un o brif enwogion ei oes a'i wlad mewn mwy nag un ystyr oedd Morgan John Rhys. Ganwyd ef mewn lle o'r enw Graddfa, Llanfabon, Rhagfyr 8fed, 1760. Ymddengys fod rhai o'i wehelyth yn byw yn nghymmydogaeth Hengoed yn bresenol. Merch nai, fab brawd iddo, oedd Miss Margaret Rees, gwraig gyntaf y Parch. Richard Williams, diweddar o Hengoed. Annogwyd ef i ddechreu pregethu tua'r flwyddyn 1781 neu 1782. (Gwel *Hengoediana*, tud. 47.) Bu am ryw dymhor, nis gwyddom pa hyd, yn Athrofa Caerodor, yr hon a arolygid ar y pryd gan Dr. Caleb Evans; ac ordeiniwyd ef i'r weinidogaeth yn Penygarn, Pontypwl, yn 1787, yn yr hwn le, yn nghyda Thwyngwyn, y gweinidogaethodd rhwng chwech a saith mlynedd.

Crybwyllir am dano fel gelyn annghymmodlawn i bob arlliw o ymyriad deddfau gwladol â chydwybodau y deiliaid, ac nad oedd gweinidog ymneillduol yn y dywysogaeth y pryd hwnw yn deall egwyddorion annghydffurfiaeth yn fwy trwyadl, ac yn eu cyhoeddi mor hyf a diofn ag efe. Dywed ysgrifenydd *Hengoediana* iddo glywed ei barchedig dad yn dweyd fod y dyn dysgedig hwn "hanner can'

mlynedd o flaen ei oes." Yn ystod tymhor ei weinidogaeth yn Mhontypwl, torodd y chwyldroad mawr allan yn Ffrainc (1791—2), ac yn ngrym ei frwdfrydedd yn achos rhyddid, aeth drosodd i Paris er mwyn cael y boddhad o fod yn llygad-dyst o ddymchweliad tra-arglwyddiaeth yn y wlad hono. Bwriadai fanteisio ar y chwyldroad i gyhoeddi anchwiliadwy olud Crist i'r trueiniaid a gedwid mewn dygn dywyllwch gan y Babaeth. Ardrethodd ystafell yno i bregethu, a gwasgarodd gopïau o Air Duw i drigolion y ddinas, gan apelio at ei frodyr yn Nghymru am eu cynnorthwy yn y gwaith da. Er i bethau droi allan yn groes i'w ddysgwyliadau, ac iddo cyn hir orfod dychwelyd yn siomedig i'w wlad enedigol, diau nad oes ond y "dydd hwnw" a deifl oleuni ar y daioni a gyflawnodd yn ngwasgariad yr hâd da yn naear Pabyddiaeth yn y cyfnod byr y bu yno. Mae hyd y nod "methiant" cymmeriadau rhagorol fel hwn, yn destyn gwerth ei fyfyrio gan y rhai hyny sydd ar ol yn anturio pethau mawr dros Grist.

Yn y flwyddyn 1792, tra yn aros yn Ffrainc, dygwyddodd marwolaeth ei anwyl gyfaill, y Parch. David Jones, Pontypwl, yr hwn oedd un o bregethwyr mwyaf doniol a phoblogaidd ei oes, a'r hwn hefyd mewn cyssylltiad â'r Parch. Peter Williams, a gyhoeddodd Feibl Cann yn Gymraeg. Oddiar barch i'w goffadwriaeth, cyfansoddodd Morgan John Rhys farwnad iddo; mae rhai pennillion o honi wedi ymddangos yn *Hengoediana*, a chan nad yw yn debyg fod y llyfr hwnw yn meddiant ond ychydig o ddarllenwyr y llyfr hwn, gosodwn hwy yma:—

"Gyda Williams, gyfaill anwyl,
Ffrynd i'r Cymry er ys talm,

Jones ymdrechodd roddi canwyll
Yn eu llaw i bwyntio'r Balm.
Beiblau Cann fydd dyst i'w herbyn,
Os gwrthodant wrando'r gwir,
Nid oes meddyg i'r rhai cyndyn
Sy'n pechu'n erbyn goleu clir.

Ni feddyliais wrth ymadael
Yn Nghymmanfa'r dwyrain dir,
Byddai 'nghoelbren yn yr ardal
Hon, i draethu'r bywiol wir;
Jones a'i delyn yn y bywyd,
Minnau yn mhrif ddinas Ffrainc
Yn pregethu cyfraith rhyddid
Lle mae'r Pab a'i orseddfainc.

Jones y llynedd gyda'i Feiblau,
Yn eu taenu ar hyd y wlad,
Minnau 'leni'n dechreu eu printio,
I'r dyben i'w cyfranu'n rhad,
I dlodion Ffrainc fu'n hir yn dwli
Uwchben crefydd Ladin dlawd,
A'r offeiriaid yn eu twyllo,
I addoli pren yn lle eu Brawd.

Y dyddiad y cawn iddo sefydlu Ysgol Sabbothol ydyw y flwyddyn 1787, sef blwyddyn ei ordeiniad i'r weinidogaeth. Dywedir iddo argraffu llyfryn i'r genedl ieuanc i ddysgu darllen, ac iddo deithio llawer yn y cyfamser ar hyd a thraws y dywysogaeth i bregethu o blaid ysgolion nosol a Sabbothol, yn gystal ag ysgrifenu o'u tu. Dyfynwn y geiriau canlynol, fel rhai a briodolir iddo ar y mater dan sylw. "Y mae fy ymysgaroedd yn cyffroi o'm mewn wrth feddwl am y nos o anwybodaeth sydd yn gorchuddio deall-dwriaethau rhan fawr o drigolion ein gwlad. Yr ydwyf yn

barod, yn ol fy ngallu, wedi ymdrechu cyffroi eich meddwl puraidd i ymlid niwl y tywyllwch ymaith. Mi a'i gwelaf yn ffoi. Dyblwch eich diwydrwydd i'w ymlid, nes y caffo ei gau i fyny yn y pwll diwaelod. Gyda phregethiad yr efengyl, mae yr Ysgolion Cymreig yn wythnosol a Sabbothol wedi bod o fendith neillduol y flwyddyn ddiweddaf. Maent wedi bod yn foddion i dynu teuluoedd cyfain ar ol yr Arglwydd. Wrth weled y fath ffrwyth, pwy na ymdrechai blanu y fath Ysgolion yn mhob cymmydogaeth. Y mae yr Ysgolion Sabbothol, nid yn unig yn dysgu y plant i ddarllen, ond hefyd yn eu cadw rhag gwneyd drygau ar ddydd yr Arglwydd. Y mae yn rhoi achlysur i'r pregethwyr, ac ereill, i'w holi am eu hadnabyddiaeth o Dduw, ac o honynt eu hunain ; i'w dysgu i ffieiddio y drwg a glynu wrth y da." (Gwel *Seren Cymru*, Gorph. 9fed, 1880; *Hengoediana ; Traethodau Llenyddol*, Dr. Edwards, Bala.)

Wrth geisio cymharu y gwahanol haneswyr mewn perthynas i gychwyniad yr Ysgol yn Nghymru, nid ydym yn gweled ein ffordd yn glir i allu cydolygu âg awdwr *Hengoediana*, lle y dywed yn tud. 88, fod y flwyddyn 1787, ddwy flynedd yn foreuach nâ'r amser y dechreuodd Parch. T. Charles sefydlu Ysgolion Sabbothol yn y Gogledd; nâ Golygydd *Seren Cymru*, a ddywed yn y rhifyn uchod mai yn y flwyddyn 1778, y dechreuodd ar ei waith. Tra nad ydyw o gymmaint pwys i'r oes hon pwy biau yr anrhydedd o fod yn gychwynydd iddi fel cyfundrefn (*system*), ac fel y cyfryw y mae a fynom â hi yn y fan hon, y mae yn ddyledswydd arnom roddi ffeithiau eglur a diamwys hyd y gellir o flaen y darllenydd. Os gellir

ymddiried yn yr hyn y cyfeiriwyd ato yn *Hanes Cymru*, cyf. i., tud. 308, fel adroddiad cywir, yna rhaid fod Charles wedi dechreu gyda'r mudiad cyn iddo dori ei gyssylltiad â'r Eglwys Wladol yn 1784, ac iddo ymroddi ati a'i holl egni ar ol ymuno â'r Methodistiaid Calfinaidd, hyd nes ei analluogi gan afiechyd yn 1799. Ymddengys i ni, wrth gymharu y gwahanol ffigyrau a'u gilydd, fod y sefydliad yn agos i dair blwydd oed yn y Gogledd cyn iddo gychwyn yn rheolaidd yn y Deheudir.

Yr oedd Morgan John Rhys yn deilwng o sylw neu ddau ychwanegol, yr hyn a wnawn gyda chymhorth y defnyddiau sydd wrth law. Dywedwn air ar ei

### Gyhoeddiad Cyfnodol.

Gan mai y *Cylchgrawn Cymraeg*, neu *Drysorfa Gwybodaeth*, yn ol pob tebyg, oedd yr ail gyhoeddiad cyfnodol Cymreig, nid anaturiol fyddai i'r darllenydd ddysgwy ychydig o hanes ei flaenorydd, yr hyn a roddwn mewn byr eiriau. Y cyhoeddiad cyntaf yn y ffurf o gyfnodolyn llenyddol ag y mae genym unrhyw fath o sicrwydd yn ei gylch ydoedd, *Trysorfa Gwybodaeth*, neu *Eurgrawn Cymraeg*, yr hwn a olygid gan y Parch. Peter Williams, ac Evan Thomas, brodor o gerllaw Llanfaircaereinion, sir Drefaldwyn, ac a argreffid gan John Ross, yn Nghaerfyrddin. Cyhoeddiad pythefnosol oedd hwn, ac ymddangosodd y rhifyn cyntaf o hono Mawrth 3ydd, 1770. Cynnwysai 32 o dudalenau, yn rhanedig i bedwar dosparth o wyth tudalen yr un. Er mawr golled i'r genedl, ni ddaeth allan ond pymtheg rhifyn o hono trwy y wasg ; bu farw o ddiffyg ymgeledd Medi 15fed o'r flwyddyn uchod, a dywed y cyhoedd-

wyr, wrth ganu'n iach i'w darllenwyr yn y rhifyn olaf, eu bod eisoes yn golledwyr o gant punt ac uchod. Am ychwaneg ar y cyhoeddiad hwn, cyfeiriwn yr ymofynydd at *Draethodau Llenyddol* Dr. Edwards, Bala, dan y penawd "Cyhoeddiadau Cyfnodol y Cymry."

Nid rhyw hir iawn ar ol dychwelyd o Ffrainc y bu Morgan John Rhys cyn cychwyn cyhoeddiad tri-misol o'r enw *Cylchgrawn Cymreig*, yr hwn a olygid ganddo ef ei hun. Ymddangosodd y rhifyn cyntaf yn Chwefror, 1793, yn cael ei argraffu yn Trefecca. Ymddengys fod y Cymry y pryd hwnw, fel y lluaws o honynt yn awr, yn mhell ar ol o roddi gwerth dyladwy ar lafur caled eu cymhwynaswyr ffyddlonaf, y rhai a ymladdent eu brwydrau, ac a godent eu llef yn erbyn trais ac annghyfiawnder gormeswyr eu gwlad. Y tebygolrwydd yw, i'r cyhoeddiad hwn etto fethu byw yn hŵy nag un flwyddyn, ac iddo anadlu ei chwythiad olaf ar ddyfodiad y pummed rhifyn trwy y wasg yn Chwefror, 1794. Pan gymmerir i ystyriaeth fod rhai o brif lenorion yr oes hono yn anfon eu cynnyrchion meddyliol iddo, a bod ei dudalenau yn rhydd oddiwrth arogl enwadaeth, mae yn beth i synu ato i'r Cymry oddef iddo farw yn ddiymgeledd. Dywed Dr. Edwards yn ei sylwadau beirniadol ar y *Cylchgrawn*, "Nad yw at ei gilydd mor ddifyr a doniol, nac yn dangos cystal chwaeth a'r *Eurgrawn*; ond ei fod yn rhagori arno mewn un peth, sef, mewn bod ganddo fwy o *bwynt* pennodol; a'r pwynt hwnw yw rhyddid crefyddol a gwladol." Wrth ddarllen y rhanau a ddyfynir gan y Dr., tybiwn fod ei ddyfarniad o hono yn ymylu ar berffeithrwydd; oblegyd yr oedd ei gasineb at bob ymyriad gwladol a chydwybodau y deiliaid mewn perthynas i grefydd bron a

bod yn angherddol, ac nid arbedai ei ysgrifell nâ'i dafod i ddynoethi twyll ac annghyfiawnder yn mhob ffurf. Heblaw erthyglau galluog gan y Golygydd ar y pynciau a nodwyd, cyfoethogid tudalenau y *Cylchgrawn* ag ysgrifau enwogion o gyffelyb feddwl i Dr. W. G. Pughe, ar "Lythyraeth y Gymraeg," &c. "Traethawd ar Ddim," &c., gan Dafydd Ddu Eryri. Llythyrau Morgan Llwyd o Wynedd at ei fam, &c. Ceir ynddo hefyd gyfansoddiadau barddonol o waith Shon Lleyn, megys "Coffadwriaeth o'r Parchedig Mr. Rowlands, Llangeitho;" "Coffadwriaeth am Mr. W. W., Awdwr *Hymnau Cymreig*," "Cywydd y Greadigaeth," &c. (Gwel dwy ysgrif Dr. Edwards.) Bellach, ni a ffarweliwn â Morgan John Rhys, gyda dweyd iddo adael ei wlad am America yn y flwyddyn 1794, lle y treuliodd gyda'r un ymroddiad diflino, y deg mlynedd gweddill o'i oes. Bu farw yn Somerset, Pennsylvania, Rhagfyr 7fed, 1804, yn 44 mlwydd oed. Gwelir nad oedd ei ddydd gwaith ond cymharol fyr, ac fel pe buasai yn ymwybodol o hyny, penderfynodd wneyd defnydd teilwng o hono i ddadleni yr egwyddorion hyny ag y mae miloedd yn dyheu am eu gweled yn argraffedig ar lumanau pob gwlad, sef "RHYDDID GWLADOL A CHREFYDDOL."

Cyn rhoddi yr ysgrifell heibio goddefer gair yn mhellach ar yr Ysgol Sabbothol. Mae y daioni a ddeilliodd trwyddi i'r Eglwys Gristionogol yn y can' mlynedd diweddaf yn ddigon o gymhelliad dros wahodd pobl yr Arglwydd i weithgarwch egniol o'i phlaid yn y dyfodol.

*Y sefydliad hwn yw y prif gyfrwng cymdeithasol a feddwn i gyfranu gwybodaeth Feiblaidd i'n pobl ieuainc.* Hyd yn gymharol ddiweddar, rhoddid derbyniad i Air Duw

i'r ysgolion dyddiol, ond yn awr, cyfyngir eu gweithrediadau gan mwyaf i addysg fydol yn unig, fel y mae egin cymdeithas yn dibynu bron yn hollol am wybodaeth Ysgrythyrol ar yr Ysgol Sabbothol. Credwn mai fel hyn y mae pethau yn eu lle; mae addysg fydol, fel pob peth arall o'r un natur, yn cael ei dwyn yn mlaen yn ystod y dyddiau a bennodwyd gan y Creawdwr at oruchwylion y byd hwn; ac addysg ysgrythyrol, grefyddol, ac ysbrydol, yn cael ei chyfranu ar y dydd pennodol i wasanaethu Duw yn ei gyssegr. A phe ceid plant y goleuni can galled yn eu cenedlaeth a phlant y byd yn eu cynlluniau, eu sêl a'u gweithgarwch, diau y gwelid llewyrch gwahanol ar y sefydliad mewn llawer lle. Byddai yr Ysgolion yn llawnach a mwy blodeuog ar brydnawnau Sabbothol, a llai o grwydriadau segurllyd gan ieuenctyd gwamal a dibrofiad nag sydd yn bresenol. Wrth ystyried anfanteision cefnogwyr y sefydliad yn y ganrif ddiweddaf, rhaid cydnabod gyda diolchgarwch fod gwaith mawr ac anrhydeddus wedi ei wneyd; ond, os nad ydym yn camgymmeryd, mae mwy o waith ar ol, a chwaneg o gyfleusderau i'w gyflawni yn effeithiol. Tra byddo gelynion gwirionedd ar y maes yn gwasgaru hadau gwenwynig amheuaeth, a chynnifer yn cael eu llywodraethu gan ddifaterwch; dylai dilynwyr yr Oen fod yn effro i'w dyledswyddau, myned allan i'r ffyrdd i gyrchu esgeuluswyr i'r Ysgol, a gofalu fod darpariaeth briodol ar eu cyfer wedi eu hennill. Dylid ymdrechu hyd yr eithaf at wneyd yr Ysgol yn ddyddorol i'w mynychwyr, ei gwneyd y fath, fel na ddylai neb deimlo yn faich bod ynddi am gymmaint ag awr a hanner ar y Sabboth.

*Yn Nghymru, yr Ysgol Sabbothol ydyw un o brif gyf-*

*ryngau cadwraeth yr iaith Gymraeg*. Dylai yr ystyriaeth hon hawlio lle cyssegredig yn nghalon pob Cymro, a thynu allan ei holl egnion o blaid y sefydliad. Cyfyngir gweithrediadau yr Ysgolion dyddiol at addysg elfenol, i'r iaith Saesneg yn unig. Treulir, o leiaf, bum' awr yn y dydd, a hyny am bum' diwrnod yn yr wythnos er dysgu ein cenedl ieuanc yn nhafodiaith y Saxon, tra nad oes ond un cynnyg yn yr wythnos, a hyny am lai nâ dwy awr, i'w hegwyddori yn y Cymraeg; felly, os bydd ffyddlondeb yn ddiffygiol yn y tymhor hwn, byddis yn eu difreintio o'r unig gyfrwng dechreuol a feddwn, gyda'r eithriad o'r gymdeithas deuluaidd, i'w haddysgu yn Ngair Duw a llenyddiaeth eu gwlad. Pan yn ymweled yn achlysurol â rhai o drefydd Lloegr, llonir ni yn fawr wrth sylwi fod lluaws o benau teuluoedd Cymreig mor hynod o ymlyngar wrth eu heniaith odidog. Nid yn unig siaradant hi wrth eu gilydd ar yr aelwyd ac yn y gwasanaeth crefyddol, ond clywir eu plant bychain hefyd yn ei hacenu mor groyw a dilediaith a phe magesid hwy ar ben Moel Tryfan, neu Garn Fadryn. Nis gallem lai nâ meddwl ar y pryd eu bod yn esiampl o efelychiad i ganoedd o rieni yn Nghymru, plant y rhai sydd mor Saxonaidd eu tafodiaith a phe bai Afon Hafren yn cyfryngu rhyngddynt â gwlad y bryniau.

Nid anfynych y cyhoeddir oddiar lwyfan yr Eisteddfod, mai y sefydliad cenedlaethol hwnw (er ei fod yn myned yn llai cenedlaethol bob blwyddyn gan gymmaint o'r elfen Saesneg sydd yn ymlusgo iddo) ydyw prif gyfrwng cadwraeth yr iaith Gymraeg. Tra yn addef bod ein llenyddiaeth yn gymhorth nid bychan i'w hirhoedledd, a bod yr Eisteddfod yn dynfaen ardderchog er dadenhuddo galluoedd cudd-

iedig ein harwyr gornestol, credwn gyda llaw fod rhan helaeth o'r clod yn ddyledus i'r Ysgol Sabbothol a'i hathrawon ffyddlon. Os yn yr Eisteddfod y gwelir y tyrau a'r pinaclau yn ymddyrchafu i'r cyhoeddusrwydd hwnw a hawlia iddynt glod ac edmygedd yr oesau, ni ddylid annghofio mai yn yr Ysgol Sabbothol y gosodir i lawr y sylfeini tuag at yr oruwchadeiladaeth. Mae y sylfaen yn anhebgorol i'r adeilad, ac yn ei flaenori. Meddyliau addfed, talentau caboledig, a meistriaid llenyddiaeth Gymreig ganfyddir yn yr ymdrechfa Eisteddfodol, ond yn flaenorol i hyny, bu yr Ysgol Sabbothol gyda'i llu athrawon ymroddgar yn eu dysgu i seinio llythyrenau, cyssylltu geiriau a brawddegau, a pharablu acenion yr heniaith gyfoethog. Os oes ynom eiddigedd dros gadwraeth ein hiaith, dros lenyddiaeth ein gwlad, a'i sefydliadau cenedlaethol, parchwn a chefnogwn yr Ysgol Sabbothol; oblegyd nid cynt y peidia y sefydliad hwn a bod y peth ydyw, nag y derfydd am y cymdeithasau uchod.

## TRAETHAWD III.

### GRISIAU DYRCHAFIAD.*

MAE y testyn yn un pwysig a dyddorol, ac yn gyfryw nas gellir mynegi hanner ei gynnwysiad mewn ysgrif o natur hon. Mae yn dal cyssylltiad â phob oes, gwlad, a chenedl, a'i derfynau yn estynedig at bob dosbarth a rhyw. Ni phroffeswn ddwyn allan lawer o newyddion, oblegyd nid yn hawdd mewn oes mor oleu, a gwlad mor fanteisiol i gyrhaedd pob gwybodaeth a dysg, y gellir traethu ar unrhyw bwnc na fyddis wedi gweled, neu glywed rhywbeth arno o'r blaen, mewn rhyw ffurf neu gilydd. Pe llwyddem i symbylu rhai o ieuenctyd ein cynnulleidfaoedd i geisio rhagori mewn rhyw ganghen o wybodaeth, a thrwy hyny ddyfod yn ddefnyddiol i gymdeithas yn eu dydd a'u cenedlaeth, byddai ein hamcan yn hyn o ysgrif wedi ei gyrhaeddyd. Gwelir fod dau wirionedd yn cael eu hawgrymu yn y penawd,—

1. FOD DYN YN GREADUR SYDD A'I OGWYDD TUAG I FYNY—awydd ymddyrchafu. Nid oes greadur cyffelyb iddo mewn bod. Saif yn rhyfeddol byth yn mysg bodau ereill creadigaeth Duw. Hanes rhyfeddol ydyw hanes ei ddechreuad: yr oedd cynllun ac unigolrwydd ei wneuthuriad

* O'r *Greal*, 1877.

yn gosod rhyw fawredd a bri arno, ac yn gyfryw ag oedd yn ei osod ar raddfa uwch yn nghadwyn fawr bodolaeth na holl weithredoedd y Iehofah. Nid ydym yn cael fod un creadur arall wedi costio iddo fwy na gair o'i enau. Yr oedd "Bydded goleuni," "Bydded ffurfafen," "Egined y ddaear," "Heigied y dyfroedd," a "Dyged y ddaear bob peth byw wrth ei rywogaeth," yn eiriau digon effeithiol i beri i'r diddymdra esgor ar bob peth a weiir. Ond cyn creu y creadur mawr o ddyn—arglwydd y greadigaeth, fe geir cyfnod o orphwysiad, a'r personau Dwyfol yn ymffurfio yn bwyllgor ar y mater. Nid "Bydded dyn," ond "Gwnawn ddyn ar ein delw ni, ac wrth ein llun ein hunain." Mae yr unigolrwydd, y cynllunio, a'r patrwm yn dangos fod rhyw fawredd yn perthyn i ddyn nad yw yn perthyn i ddim arall. Dyn oedd maen clô yr adeilad creadigol, yn yr hwn y mae y materol a'r ysbrydol yn cydgyfarfod. Yr oedd bôd wedi ei gynnysgaethu â gallu i ddal cymundeb â'i Grëwr, yn anghenrheidiol cyn y buasai y byd yn gyfanwaith cryno, oblegyd yr oedd gormod o bellder rhwng pob creadur arall ag Ef i fedru gwneyd hyny; ond yn y dyn cafwyd yr ysbrydol a'r materol i gyffyrddiad â'u gilydd. Dyma un ran o'r ddaear yn ddaearol, a'r rhan arall yn foesol ac ysbrydol, nid amgen na gwreichionen fywiol o'r Dwyfol ei hun; ac yn ei wneuthuriad, dyma greadigaeth gryno a difwlch, yn deilwng o ddoethineb a gallu yr Anfeidrol. Heblaw hyn, y mae ei agwedd gorfforol, yn gystal a meddyliol, yn ei wahaniaethu oddiwrth greaduriaid ereill y byd: tra y mae pob creadur arall o ran ei ffurf a'i ystum corphorol â'i gyfeiriad tua'r llawr, a'i chwythiad i'r ddaear. Mae dyn

â'i edrychiad tuag i fyny at yr hwn a'i gwnaeth; cwyd ei ben yn uwch na'r haul, dringa i fyny heibio i bob planed a chysawd, ac ni erys yn dawel nes dyfod o hyd i'r Anfeidrol ei hun. Tuag i lawr yr edrych pob creadur arall am ei gynnaliaeth. Y fuwch a'r ddafad a ddysgwyliant oddi isod; nid ydynt yn codi eu golygon yn uwch na'u traed, er gweled o ba le y disgyn y trugareddau. Ond am ddyn pan yn deilwng o'r enw, mae yn gwbl wahanol; nid yw yn ymfoddloni ar fwyta ac yfed, gorweddian a chysgu; ond cwyd ei olygon i fyny gyda pharchus gydnabyddiaeth, at yr hwn sydd yn agor ei law i ddiwallu pob beth byw o'i ewyllys da; teimla fod rhyw reddf yn ei natur ag sydd yn ei rwymo i dalu gwarogaeth i Awdwr ei fodolaeth am bob bendith a dderbynia. Nid rhyfedd i Dafydd yn y golwg mawreddog a gafodd arno ei hun ddweyd mewn syndod duwiol, "Rhyfedd ac ofnadwy y'm gwnaed."

II. Mai nid ar unwaith, ond yn raddol, y cyrhaeddir unrhyw sefyllfa o bwys. Mae pob dyn yn dechreu yn y dim. Ei hanes cyntaf ydyw hanes *cael* gan ryw rai ereill. Nid oes lle gan y cyfoethog i ymfalchio, na lle gan y tlawd i rwgnach yn hyn; oblegyd y mae y naill fel y llall yn dechreu ei fyd yn rhywle tu allan iddo ei hun. Ond dylid cofio, er hyny, fod ein llwyddiant neu ein haflwyddiant yn y dyfodol, yn dibynu i raddau helaeth ar y llwybr a gymmerwn, ac ar y defnydd a wnawn o'r manteision cychwynol. Os esgeulusir gosod nôd briodol o flaen y meddwl ar ddechreu gyrfa bywyd, bydd y tymhor mwyaf defnyddiol o'n hoes yn cael ei dreulio yn ofer, byddwn fel dyn wedi colli'r ffordd yn y niwl yn ymbalfalu i chwilio am y llwybr;

ac erbyn cael gafael ynddo, os ceir hefyd, bydd yr amser goreu wedi myned heibio, ein hoes wedi dirwyn i ben, a galwad arnom i newid ein trigfa am y byd dyfodol. Mae dyn wedi ei gynnysgaethu â gallu i ddisgyn ac esgyn ar hyd graddfa bodolaeth: mae yn hyn etto yn wahanol i bob creadur arall. Nid oes gwella na gwaethygu yn perthyn i'r byd anifeilaidd, ond troant yn eu cylch greddfol yr un fath heddyw â'r dydd y crewyd hwy. Mae y wenynen yn gwneyd ei chwch, a'r dryw ei nyth, a'r prif copyn ei reilffordd, yr un modd heddyw a'r dydd y cawsant y *plan* gan eu Crëwr mawr, fel mai dyn yw yr unig eithriad yn y gweithdy eang sydd yn alluog i ragori arno ei hun ar wahanol adegau. Cyfaddefwn yn rhwydd fod rhai creaduriaid direswm yn alluog i dderbyn argraffiadau a dysg oddiwrth ddynion; y gellir dysgu ci i wneyd negeseuau dros ei feistr, y ceffyl i droi i'r dde a'r aswy ar orchymmyn ei lywodraethydd, y cathod a'r epaod i ddawnsio o flaen miwsig, &c.; ond tra yn cydnabod hyn, rhaid cofio gyda llaw eu bod oll yn cyrhaedd perffeithrwydd yn y pethau hyn yn hynod o fuan. Mae pob cynneddf o'u heiddo yn ymddadblygu i'w graddau eithaf cyn bod dyn braidd wedi agor ei lygaid ar y byd, nac yn alluog i wneyd dim drosto ei hun. Ond dyn wedi'r cwbl ydyw y creadur mawr sydd â chynnydd parhaus yn perthyn iddo; efe yw yr unig fôd nad yw amser yn rhoddi terfyn ar ei gynnydd mewn gwybodaeth. Pan fydd awrlais amser wedi taro deuddeg am y tro diweddaf, bydd galluoedd hwn yn parhau i ymddadblygu, ac yntau yn esgyn ar hyd grisiau bodolaeth yn oes oesoedd. Mae yr awydd am ddyrchafu yn reddf blanedig yn y natur ddynol. Nid

rhyw uchelgais pechadurus, neu wag ymffrost a ddyfeisiwyd gan ddyn ei hun ydyw, ond un o roddion anmhrisiadwy ei wneuthurwr ydyw. Awdwr ei natur blanodd y duedd hon ynddo. Ewyllys Duw wedi ei hysgrifenu ar ei enaid ydyw. Mae efe wedi bwriadu i ddyn fod yn fawr; gosododd ei ddelw arno ar y cyntaf, darparodd bethau mawr ar ei gyfer, a rhoddodd duedd i ymddyrchafu yn ei feddwl, i'w gymhell i ymdrechu ei gyrhaeddyd. Dangosa yr awydd hwn ei hun yn y plentyn gystal ag yn y dyn; ac fel y bydd ei alluoedd moesol a naturiol yn ymddadblygu, ceir gweled y tueddfryd hwn yn ei dynu yn ei flaen, yn ei gynnal yn ei lafur, yn ei wroli i wynebu anhawsderau, ac yn rhoddi iddo bleser yn y gorchwylion caletaf. Mae ynddo hefyd allu i ymddyrchafu. Buasai dyn yn feichus a phoenus iddo ei hun pe buasai yr awydd hwn wedi ei blanu ynddo, ac yntau ar yr un pryd yn analluog i'w gyrhaeddyd; a buasai hyny ar unwaith yn arddangosiad o ddyryswch ac annghydgordiad yn nhrefniadau y doeth o galon, a'r galluog o nerth. O, na, y mae y fath gydgordiad a rheoleidd-dra yn nodweddu ei holl weithredoedd, fel y mae holl alluoedd dyn yn cyfateb i'w gilydd, fel cynnifer o olwynion mewn peiriant, a'r oll wedi eu cyfaddasu yn y fath fodd fel ag i'w symbylu i gyrhaedd y safle hono, yn yr hon y myn Duw iddo fod. Y pwnc mawr angenrheidiol yw cymmodi ein meddyliau â'r gwirionedd hwn, nes ein dwyn i ymfalchio yn y ffaith fod rhyw amcan mawr a goruchel i'n bodolaeth, a syrthio i'r fath gariad â'r syniad, nes creu ynom awydd i fynu rhagori mewn rhywbeth neu gilydd. Un diffyg mawr perthynol i genedl y Cymry ydyw, rhy fach o ysbryd anturiaethus. Mae ein cymmeriad masnachol a llenyddol

yn profi hyn. Yn hytrach na chwilio am bethau newyddion, ymfoddlonwn ar hen bethau yn barhaus; aroswn yn dawel a thlawd yn nghanol trysorau dihysbydd heb chwilio am danynt, nes i ryw estron anturiaethus eu meddiannu; a thrwy hyny yr ydym yn colli y clod a allasem gael fel darganfyddwyr y trysorau oeddynt guddiedig yn ein mynyddau. Mae yn debyg nad oes un wlad dan haul, yn ol ei maint, yn gyfoethocach na Gwlad y Bryniau. Mae y cyfoeth tywysogol sydd yn ngholyddion ei mynyddau, yn rhoddi iddi enwogrwydd yn mysg gwledydd y byd. Ond y cwestiwn ydyw, pwy a'u darganfyddodd, ac a'u dygodd i oleuni dydd? Tra yr ymfoddlona y Cymro i aros yn dawel, heb agor ei lygad ar y trysorau sydd dan ei draed, daw y Gwyddel, y Sais, neu ryw estron arall, yn mlaen i gymmeryd o frasder y tir, a dwyn ymaith y clod a allasai efe ei feddu. Dichon y gellir priodoli hyn i raddau mawr i ddiffyg cefnogaeth. Os dygwydd i rywun dori allan o'r ffordd arferol, i ddyrchafu anrhydedd ei wlad trwy ryw ddyfais newydd o'i eiddo, yn hytrach na'i galonogi a'i gynnorthwyo yn ei anturiaeth, chwerddir am ei ben, ac ystyrir ef yn hanner gwallgof. Mae y diffyg hwn wedi bod yn nodweddiadol o genedloedd ereill, i raddau mwy neu lai. Hyn oedd bai mawr y genedl Iuddewig. Ar ol lladd y proffwydi, a llabyddio y rhai a ddanfonid atynt, adeiladent a gwyngalchent eu beddau. Dywedir fod Homer, y bardd Groegaidd enwog, er yn ddall, o dan yr angenrheidrwydd i gardota ei fara o dŷ i dŷ; ond ar ol iddo farw, yr oedd saith o ddinasoedd yn cweryla â'u gilydd am yr anrhydedd o fod yn lle genedigol iddo. Bu yr enwog John Milton, y bardd Seisnig, dan yr angenrheidrwydd o werthu "Coll

Gwynfa" am bum' punt, o herwydd iselder ei amgylchiadau; ond wedi iddo farw, dadgenir ei glod yn mhob dinas a thref. Yn dra thebyg i hyn yr ymddygid at feibion athrylith ein gwlad ni yn yr amser a basiodd. Esgeulusid hwy tra yn fyw, a gwneid duwiau o honynt wedi iddynt farw. Mae dangos parch i enwogion ar ol iddynt farw, yn beth digon rhesymol, ond y mae gwneyd hyny ar ol eu lladd trwy ddiffyg cefnogaeth a chydymdeimlad, yn annghyssondeb o'r mwyaf. Pa mor iach a chryf bynag y byddo plentyn pan enir ef, mae yn rhaid ei feithrin a'i ymgeleddu os mynir iddo fyw; gadawer ef ar y maes, heb lygad i dosturio wrtho, nid hir y bydd cyn y derfydd am dano. Mae lle i ofni fod llawer gwreichionen fywiol, a fuasai wedi hyny yn fflam gref i oleuo yr oesau dyfodol, wedi cael ei diffodd am byth o ddiffyg cefnogaeth a chydymdeimlad; oblegyd pa faint bynag o allu cynhenid fydd mewn dyn, mae yn sicr fod rhyw gymmaint o help yn angenrheidiol er ei ddadblygu.

Un rheswm a ddygir yn mlaen dros anwybodaeth ydyw diffyg manteision. Ar un golwg y mae hwn yn ymddangos yn gryf; ond pan gofiom gynnifer o enwogion ein gwlad sydd wedi gweithio eu ffordd trwy amgylchiadau cyfyng i safleoedd uchel, mae y rheswm uchod yn diflanu. Nid oes angen i ni fyned i Loegr, a manau ereill, i chwilio am enghreifftiau i brofi ein gosodiad, oblegyd y mae lluaws o honynt yn ein gwlad ein hunain; pe buasai gofod yn caniatau, gallesid yn hawdd gyfeirio at ddegau o enghreifftiau i brofi mai nid gyda y dosparthiadau uchel, y modrwyau a'r cadwyni aur, y mae athrylith wedi cael gafael yn ei meibion, ond yn y pyllau glo, y chwareli, y

gweithdai, &c.; ac os yw ereill wedi gallu ymgodi i binaclau anrhydedd o waelodion dyffryn dinodedd, y tebygolrwydd ydyw y gellir eto, ond mabwysiadu yr un moddion, ac arfer yr un perderfyniad. Mewn trefn i galonogi'r efrydydd ieuanc yn nghychwyniad ei fywyd myfyriol, hwyrach mai nid anfuddiol fyddai sylwi yn y fan hyn, fod i bob peth mawr ei ddechreuad bychan. Wrth weled ereill wedi cyrhaedd safle o enwogrwydd a nôd, mae yn anhawdd cymmodi meddyliau ieuainc â'r ffaith fod yr enwogion hyn wedi bod unwaith yn yr un man â hwythau, yn gwybod cyn lleied a hwythau, a llai hefyd. Ond sylwi ychydig, canfyddwn fod hon yn rheol gyffredinol mewn natur a chelfyddyd. Os edrychwn i natur, gwelwn i'r dderwen gadarn gref fod unwaith yn fesen fach—fod yr afon fawreddog sydd yn ymddolenu wrth ei phwysau tua'r môr, wedi dechreu yn yr ychydig ddyferion a ddisgynent o gesail y graig wrth odrau y bryn—fod yr haul, canolbwnc mawr y greadigaeth, wedi bod yn fân ronynau gwasgaredig yn flaenorol i'w casgliad at eu gilydd i oleuad mawr y pedwerydd dydd. Felly hefyd y byd meddyliol. Pa mor uchel bynag y mae dysgedigion wedi gallu dringo ar hyd grisiau dyrchafiad, bu cyfnod yn eu hanes pan nad oeddynt yn rhagori ar y lleiaf ei wybodaeth. Bu adeg ar yr ysgolhaig medrus pan na wyddai fod dau ddau yn bedwar. Bydd cofio fod dynion mwya'r byd wedi bod mor anwybodus a ninnau, yn gymhorth i ni ymestyn at yr un nôd anrhydeddus ag y maent hwythau wedi ei gyrhaeddyd. Heblaw hyn, mae cynnyrchion y meddyliau mawrion a fu, wedi eu bwriadu i fod yn gynnorthwy i'r rhai ieuainc sydd yn dechreu ymddadblygu. Gall y bardd ieuanc ddilyn Milton

trwy ardaloedd blodeuog barddoniaeth, a phlethu ei gynghaneddion yn sïad yr awelon, neu beroriaeth swynol yr afonydd. Gall y seryddwr ieuanc esgyn i'r nef serenog yn nghymdeithas Herschel, ac edrych arno yn taflu ei linyn mesur o amgylch yr haul a'r planedau, a gwrando arno yn galw'r sêr wrth eu henwau. Gall yr athronydd ieuanc hefyd dramwy gyda Newton ar hyd llwybrau anhygyrch, a phwyso deddfau anian yn ei glorianau, nes cael ei synu gan y rhyfeddodau aruthrol, &c. Mae yr enwogion hyn wedi bod unwaith mor lleied a'r lleiaf, ac y mae modd i'r lleiaf etto fyned gymmaint a hwythau. Os edrychwn etto i'r byd celfyddydol, cawn weled yr un egwyddor yn cael ei dadblygu. Mae pob campwaith a ddyfeisiwyd erioed wedi bod unwaith yn llechu yn nghilfachau mewnol y meddwl. Gellir yn hawdd ysgrifenu y gair "ailadeiladwyd" ar bob peth o bwys a wnaed gan law celfyddyd. Bu yr adeiladau mawrion, a'r tyrau uchel yn dyrchafu eu penau yn y meddwl dynol cyn i'r gareg sylfaen erioed gael ei gosod i lawr. Mae pob olwyn yn nghyfansoddiad yr ager-beiriant wedi bod yn troi gyda chyflymdra aruthrol yn meddwl y dyfeisydd, cyn iddynt roddi gymmaint ag un tro ar y ffyrdd haiarn. Mae pob cymmal o bontydd mawreddog Môn wedi bod am hir amser yn hongian ar draws meddyliau Telford a Stephenson, cyn iddynt erioed grogi ar draws culfor Menai. Nid yw y cwbl a welir mewn cywreinwaith celfyddydol, ond effaith yr hyn a ffurfiwyd unwaith fel rhyw anelwig ddefnydd yn y meddwl dynol. Cam pwysig tuag at ddyfod i unrhyw safle o bwys ydyw bod yn sylwgar. Mae y meddwl dynol wedi ei gyfaddasu i dderbyn argraffiadau oddiwrth ddygwyddiadau cyffredin bywyd. Y pethau

mwyaf syml, cyffredin, ac agos atom sydd wedi awgrymu i ddynion y pethau mwyaf a rhyfeddaf yr oesau, megys yr agerbeiriant, amser fesurydd, deddf pwýs, &c. Mae miloedd etto, yn ddiau, o awgrymiadau gwerthfawr yn cael eu rhoddi gan ddamweiniau amgylchiadol; a miloedd o berlau yn y llwch dan ein traed, pe meddem lygad i'w gweled, a chalon i'w teimlo.

III. Cyn terfynu, rhoddwn ddau neu dri o awgrymiadau annogaethol.

1. *Ymroddi i ddarllen.* Diammheu fod y mwyafrif mawr yn gadael lle i wella yn hyn. Mae llawer awr hamddenol yn cael ei threulio i ddim dyben, pan y gallesid trwy ei defnyddio yn briodol, fod wedi casglu llawer iawn ychwaneg o wybodaeth. Ni bydd dim yn eiddo i ni ein hunain, ond cymmaint ag a ennillwn trwy ein llafur ein hunain. Mae genym fanteision lawer i ragori mewn gwahanol ganghenau gwybodaeth, ar ein hynafiaid. Mae yn llawn cymmaint o syndod cyfarfod â dyn yn methu darllen heddyw, ac oedd cyfarfod â dyn yn medru rhyw gan' mlynedd yn ol. Yr adeg hóno, nid oedd ond ychydig o lyfrau i'w cael, a'r ychydig hyny gan mwyaf uwchlaw cyrhaedd y bobl gyffredin. Buasai yn rhaid cerdded yn mhell cyn dyfod o hyd i ryw fath o ysgol, a thalu y geiniog eithaf am dani wedi ei chael; fel rhwng pob anfantais, yr oedd y bobl dlodion yn gorfod boddloni ar anwybodaeth, a byw yn nghanol hanner tywyllwch eithaf. Ond erbyn heddyw mae pethau wedi newid er gwell; mae llenyddiaeth yn ein gosod dan deyrnged iddi; mae llyfrau i'w cael yn gymharol rad, a chyflawnder o amrywiaeth o honynt; mae ysgolion elfenol yn mhob plwyf, a'r ysgol Sabbothol yn

mhob ardal yn y dywysogaeth, ac nid oes esgus gan neb dros beidio bod yn hon, oblegyd y mae yn ysgol rad, yn ysgol i bawb, ac yn ysgol i enaid. Gan hyny, os am ragori, rhaid dal ar y cyfleusderau; oblegyd pa mor lluosog bynag y bydd y manteision, ni wnant leshau os na wneir defnydd o honynt.

2. *Darllener y llyfrau goreu.* Dywedir weithiau fod hon yn oes ddarllengar ac na fu cymmaint o ddarllen a meddwl erioed ag sydd yn bresennol. Dichon fod hyn yn wirionedd, a chymmeryd pob peth i ystyriaeth; ond y cwestiwn ydyw, pa faint o'r llyfrau goreu a ddarllenir? Pa nifer o'r llyfrau hyny sydd yn gwneyd y myfyriwr yn oleuach a challach sydd yn cael eu hefrydu? Mae sylwadaeth yn ein dysgu fod lluaws o gyfrolau yn cael eu myfyrio nad oes budd nac adeiladaeth yn deilliaw oddi wrthynt. Pwy a ŵyr faint o hadau dinystriol sydd yn cael eu hau mewn meddyliau ieuainc wrth ddarllen llyfrau o chwaeth isel a llygredig, pa rai nad ydynt mewn gwirionedd yn werth rhoddi benthyg llygad am bum' mynyd i'w myfyrio? Pe darllenid hwy am oes gyfan, ychydig iawn cyfoethocach fyddai y meddwl yn y diwedd. Os am gyrhaedd gwybodaeth sylweddol, gwybodaeth a rydd raen a dysgleirdeb ar y meddwl, gwybodaeth a wna i alluoedd yr enaid ymeangu drwyddi, byddwn ofalus yn ein dewisiad o'r llyfrau goreu.

3. *Penderfyniad i ragori.* Ofer i neb geisio dringo i ben pinacl enwogrwydd, heb ymgymmodi â llawer o wrthwynebiadau. Am bob un sydd yn cael y gwynt o'i du, y mae deg yn gorfod gweithio yn ei erbyn; ac yn sicr, fel rheol, y dynion hyny sydd wedi cyfarfod â'r stormydd

garwaf sydd wedi cyflawni y gorchestion mwyaf. Dyna un yn neillduol a allem ei enwi, sydd yn fyw ac yn iach heddyw, sef Prif Weinidog y llywodraeth, Arglwydd Beaconsfield. Pan oedd efe yn dechreu siarad ar bynciau y dydd yn Senedd Prydain, yr oedd gwawd a dirmyg ei wrthwynebwyr yn disgyn arno fel gwlaw taranau; ond rhyw ddiwrnod yn nghanol banllefau diystyrllyd ei wrthbleidwyr, cododd ar ei draed a dywedodd, "Mae yr amser yn d'od pan y bydd i chwi wrando arnaf." Wel, erbyn heddyw mae ei brophwydoliaeth wedi ei gwireddu fwy nag unwaith; fe weithiodd ei ffordd yn benderfynol a di-ildio trwy yr anhawsderau mwyaf, nes mynu llorio ei elynion, a dwyn allan ei farn i fuddygoliaeth. Os daw cefnogaeth a gwenau haul, goreu oll; ond os na, na fydded i ni ddigaloni yn y mesur lleiaf. Byddwn fel yr afonig fechan, yr hon, os ca chwareu teg, a red yn ostyngedig tan ganu gyda throed y mynydd, a godrau y bryn tua'r môr, gan weini miloedd o gymhwynasau ar y ffordd; ond yr hon os ceisir ei rhwystro, a gasgla nerth nes dringo i gopä y mynyddoedd, a mynu ei ffordd i ben ei thaith.

4. *Darllener y Beibl.* Nid priodol fyddai terfynu'r ysgrif heb gyfeirio meddwl y darllenydd at Lyfr y lyfrau, oblegyd nis gellir dweyd fod dyn wedi cyrhaedd y gris uchaf yn ngraddfa bodolaeth nes dyfod yn gyfarwydd yn hwn, cydnabod ei awdurdod, ac ymostwng i'w ddeddfau. Ni phetruswn ddweyd mai hwn yw yr unig lyfr digamsyniol sydd mewn bod; mae wedi ei ysgrifenu gan ddynion santaidd, wedi ei arolygu gan yr Ysbryd Glân, a'i drwyddedu i ddynion gan Dduw y cariad. Mae y Beibl wedi ei gyfaddasu i alluoedd meddyliol pob dyn: fel y dywedai un

duwinydd enwog fod pethau y Beibl yn debyg i afon, "yn ddigon bâs i oen bach gerdded trwyddi, ac yn ddigon dofn i elephant nofio yn ei dyfroedd." Felly y mae hefyd, yn ddigon syml ac eglur i'r gwanaf ei amgyffredion, ac yn ddigon mawreddog i'r dyfnaf ei gyrhaeddiadau; mae yn ddigon arwynebol i'r llysieuwr sydd yn hoffi difyru ei hun yn mhlith y blodau a'r rhosynau, ac yn ddigon dwfn i'r *gold-digger* i dreiddio i'w fwngloddiau i ddwyn allan bethau newydd a hen.

Yn y Beibl y ceir yr hanesiaeth hynaf, yr athrawiaeth buraf, y rhesymeg gywiraf, yr athroniaeth egluraf, y farddoniaeth uchelaf, y caniadau melusaf, a'r rhyfeddodau penaf. Nid ydym yn synu clywed Pedr yn dweyd, "Ar yr hyn bethau y mae yr angylion yn chwenychu edrych." Mae yma ddigon o faes iddynt hwy; ac er edrych a myfyrio ar hyd yr oesau, maent heb edrych trwyddynt hyd heddyw. Os am fyfyrio hynafiaethau, darllener y Beibl; mae hwn yn cofio geni pob llyfr arall, ac fe wel eu claddu etto. Hwn rydd hanes am Dduw yn gosod cylch o amgylch bydoedd ban, pan eisteddai yn y gwagle wrtho ei hunan. Yma y gwelwn ef yn gosod y môr i siglo yn ei gryd, gan orchymmyn iddo beidio syrthio dros ei erchwynion. Os am hanes rhyfeloedd, darllenwn ei lyfrau hanesyddol; os am farddoniaeth aruchel darllenwn y Salmau; os am addysgiadau synwyrol yn cael eu gwisgo mewn ffraethebau destlus, darllenwn y Diarebion; os am weled y *blinds* yn cael eu codi rhyngom â'r dyfodol, darllenwn y prophwydi; os am weled yr esiampl uchaf o gariad a thosturi, darllenwn yr efengylau; os am weled y penderfynol yn gwynebu peryglon yn ddiofn, ac yn selio eu hegwyddorion

â'u gwaed, darllenwn weithredoedd yr apostolion; os am lon'd breichiau o dduwinyddiaeth bur, darllenwn yr epistolau; ac os yn hoff *o panoramas*, a difyru ein hunain â *pictures*, darllenwn lyfr y Dadguddiad. Nid yn unig y mae y Beibl yn llyfr ar bob peth, ond hefyd y mae yn llyfr i bawb, yr hen a'r ieuanc, y tlawd a'r cyfoethog, yn llyfr i'r teulu, ac yn llyfr i'r werin. Rhydd gyfarwyddiadau i'r plant sut i ymddwyn at eu rhieni, ac i'r rhieni fel y cyfryw at eu plant. Bydd yn gydymaith ffyddlon i'r bachgen a'r ferch ieuanc, pan yn gadael eu cartref. Mae ynddo gynghorion i'r brenin, a chyfarwyddiadau i'r deiliaid. Dysga i'r masnachwr roddi mesur a phwysau tu fewn i'r *counter*, ac i'r prynwr i fod yn onest tu allan iddo. Gwna ddilyn y cyfreithiwr i'w swyddfa, a'r pregethwr i'r pwlpud. Rhydd gyssur i'r weddw, a gobaith i'r amddifad. Rhydd nerth i fyw yn iawn, a chymhorth i farw yn ddedwydd. Os darllenwn y Beibl, a byw yn ol ei gyfarwyddiadau, gallwn ddysgwyl bendith Duw yn y byd hwn, a bywyd tragywyddol yn yr hwn a ddaw.

## TRAETHAWD IV.

## URDD AARON AC URDD HARRI, NEU DDADGYSSYLLTIAD YR EGLWYS A'R WLADWRIAETH.*

NODIAD.—Mae yr ysgrif ddilynol yn cynnwys sylwedd dwy ddarlith a draddodwyd mewn amryw fanau yn y Gogledd yn y flwyddyn 1878, o dan nawdd "Cymdeithas Ryddhad Crefydd." Gan fod pwnc y dadgysylltiad yn cropian i fyny, ac yn cael sylw adnewyddol y dyddiau hyn, a hyny gan rai o'r Eglwyswyr eu hunain, megys Rector Merthyr ac ereill, barnwn nad anmhriodol eu gosod yn y gyfrol hon; gan hyderu na adewir llonydd i'r pwnc nes gweled yr Eglwys yn dibynu arni ei hun ac ar ei Duw, ac yn mwynhau y rhyddid hwnw a fwynheir gan gyfundebau crefyddol ereill.

WRTH ddechreu ar y gorchwyl hwn, rhaid cydnabod cyn y deuir o hyd i wreiddiau achosion ac achlysuron cyssylltiad yr Eglwys a'r Wladwriaeth, y rhai sydd yn ymsuddo mor ddwfn i ddaear yr oesau tywyll cyntefig, fod yn rhaid i ni wrth bwyll, amynedd, a dyfalbarhad. Un peth dyddorol a berthyn i'r pwnc ydyw ei gyffredinolrwydd. Nid cwestiwn sect, plaid, na chyfundeb *neillduol* ydyw. Mae yn perthyn i ni ein materion personol, teuluol, cymdeithasol, a chyfundebol, yn nglyn â pha rai nid oes gan neb o'r tu allan hawl i ymyraeth. Ond am y cwestiwn o ryddid a chydraddoldeb crefyddol, y mae

*O *Seren Cymru* am Gorphenaf, Awst, a Medi, 1879.

yr oes euraidd wedi gwawrio ar ein gwlad, pan y mae gan bob dinesydd Prydeinig, nid yn unig ei *farn* (yr oedd hon ganddo erioed, heb neb yn alluog i luddias ei gweithredadau,) ond ei lafar hefyd. Wrth ddweyd hyn, nid ydym heb wybod am gyfnod gwahanol yn hanes ein cyndadau—am gyfnod pan oedd yn argraffedig ar fanerau y tir, "Trech Arglwydd na gwlad," ac y gorfodid y deiliaid i selio eu geneuau a derbyn yn ddystaw beth bynag a gynnygid iddynt. Nac annghofied y darllenydd fod yr hawlfraint sydd yn ei feddiant ef yn bresenol, wedi costio yn ddrud i'w flaenorwyr, a'i bod yn gyfryw ag y dylai, nid yn unig fod yn ddiolchgar am dani, ond hefyd ei defnyddio er sicrhau diwygiadau pellach. Os bu ein tadau trwy eu llafurus gariad yn offerynol i ddyrchafu moes, diwygio cymdeithasau ac effeithio cynnifer o welliantau erbyn y daethom ni i'r byd, amlwg yw y dylem ninnau fyned rhagom, gan ragori yn yr un cyfeiriad ar gyfer y cenedlaethau dyfodol. Gadael y byd yn well nag y cawsom ef, ddylai fod prif gyfeirnod bywyd pob dyn; oni wnawn hyn, ni bydd dyben ein bodolaeth yn cael ei gyrhaedd.

I ddechreu, taflwn olwg brysiog yn ol ar hanes dechreuad y degwm. Y degwm, fel y gwyr y darllenydd, ydyw prif asgwrn y gynhen sydd wrth wraidd yr holl ddadleuon ar y pwnc dan sylw. Ein hymofyniad, gan hyny, gaiff fod, Gan bwy? Pa bryd? Dan ba amgylchiadau, ac i ba ddybenion y sefydlwyd y degwm ar y cyntaf? Oddiwrth hyn sylwn yn

I. Fod y degwm ganrifoedd lawer yn hynach na'r Eglwys Sefydledig ar y naill law, ac yn ganrifoedd lawer yn ieuengach na'r Eglwys Gristionogol ar y llaw arall.

Sylwed y darllenydd nad yr un peth a olygir genym wrth yr Eglwys Sefydledig a'r Eglwys Gristionogol yn y geiriad uchod. Gwneir y gwahaniaeth hwn, nid i'r dyben o ddiraddio y sefydliad gwladwriaethol, trwy awgrymu ei fod yn amddifad hollol o adlun Cristionogaeth ; ond yn hytrach er mwyn cyd-ddealldwriaeth wrth fyned rhagom.

Mae y cyfnod Cristionogol yn dyddio yn mhellach yn ol o bymtheg cant o flynyddoedd na sefydliad yr Eglwys Wladol. Nid gan yr un personau y sefydlwyd y naill a'r llall. Sefydlydd a phen y naill ydoedd ac ydyw yr Arglwydd Iesu Grist, ond sefydlydd a phen y llall ydoedd Harri VIII. Mae y cyntaf yn sylfaenedig ar gariad tragywyddol yr Anfeidrol Dduw, tra nad yw yr olaf ond cynnyrch meddwl llygredig ac ymarferion pechadurus dyn. Ni bu adeg erioed ar yr Eglwys Gristionogol pan oedd heb yr un pen, oblegyd gwnaed Crist yn ben arosol uwchlaw pob peth iddi, ac felly ni bu galwad iddi erioed ei newid. Ond am yr Eglwys Wladol, mae wedi bod, nid yn unig droion heb yr un pen, ond hefyd yn gwisgo cynnifer o benau ar ei hysgwyddau ag sydd o freninoedd a breninesau wedi bod yn eistedd ar deyrngadair Prydain Fawr o ddyddiau Harri hyd yn awr. Fe welir felly y priodoldeb o wahaniaethu rhwng y naill eglwys a'r llall. Un o'r ategion cryfaf a ddygir yn mlaen dros gynnal crefydd trwy ddegwm ydyw cyfraith Moses, ac arferion y genedl Iuddewig yn degymu o ffrwyth y tir a'u heiddo tuag at gynnaliaeth llwyth Lefi. Tra yn addef gwirionedd y gosodiad uchod yn ei berthynas â'r trefniant Moesenaidd, mae y pethau canlynol yn peri i ni ei wadu yn hollol yn ei gymhwysiad at y trefniant clerigawl.

1. *Am nad yw swyddogion yr Eglwys Sefydledig yn proffesu olyniaeth o lwyth Lefi.* Dylid amcanu at ddeall y gwahaniaeth oedd rhwng urdd Aaron ac apostolion yr Arglwydd Iesu, a bod yn ochelgar i beidio eu cymmysgu. Canys amlwg yw nad oedd mwy o gyssylltiad rhwng y naill ddosparth a'r llall nag sydd rhwng Eglwys Llangyfelach a'i chlochdŷ. Tra na chredwn fod swyddogion y *State Church* yn olynwyr i'r naill na'r llall o'r urddau uchod, etto nid yw ond peth rhesymol dysgwyl cyssondeb yn eu honiadau. Arferem gymmeryd yn ganiataol mai olyniaeth apostolaidd a broffesid gan weinidogion yr Eglwys Wladol. Os gwir hyn, nid tegwch ynddynt ydyw neidio dros y clawdd at Lefi ac Aaron am gynnaliaeth, gan, fel y nodwyd, nad oedd yr apostolion yn olynwyr i'r llwyth hwnw. Digon sicr na chafodd yr hwn a gam-enwir yn "apostol bendigedig Sant Paul" erioed ddegwm, onidê ni buasai yn dychwelyd at ei alwedigaeth i wneuthur pebyll pan yn Corinth. Ac nid yw yn debyg y buasai Pedr, &c., dan orfodaeth i ddweyd wrth y gwr cloff hwnw yn mhorth y deml, "Arian ac aur nid oes genyf." Pe buasai Crist yn derbyn degwm, nid yw yn debyg y buasai heb le i roddi ei ben i lawr, na than orfodaeth i anfon Pedr i fwrw bach i'r môr er cael darn o arian i dalu'r dreth. Cyssondeb, gyfeillion; os olynwyr apostolion, dylech fyw fel yr Apostolion, ar roddion gwirfoddol y bobl, neu ddychwelyd at ryw alwedigaeth anrhydeddus arall

(2.) *Dystawrwydd y Testament Newydd ar y mater.* Nid gweinidogion yr Eglwys Sefydledig ydyw yr unig ddosparth sydd yn seilio arferion cyfeiliornus ar ddystawrwydd y gair dwyfol; ysywaeth, y mae iddynt luaws o

berthynasau. Os ydym yn deall rhywbeth, deallwn mai nid rheswm dros wneyd y peth yma, a chyflawni y ddefod arall, ydyw dystawrwydd yr Ysgrythyrau; ond yn hytrach rheswm dros *beidio* cyflawni "Pa beth a *ddywed* yr Ysgrythyr" a ddylai fod yn rheol gweithrediad, ac nid pa beth *na* ddywed yr Ysgrythyr. Nid at ddeddf Moses chwaith, nac at unrhyw ddeddf arall o'r Hen Destament y dylai yr Eglwys Gristionogol fyned i chwilio am ei rheolau, ond at Grist a'r Testament Newydd. Mae Crist yn rhagori ar Moses, ac y mae y Testament Newydd yn rhagori ar yr Hen; oblegyd ar destament gwell y gwnaethpwyd Iesu yn fachnïydd. Felly, gan mai y Testament Newydd ydyw llyfr ein crefydd, yno, ac yno yn unig, y dylem chwilio am reswm dros dalu a derbyn degwm. Ond er troi ei dudalenau yn ol a gwrthol, nis gwelwn yn ein byw y gair degwm, na'r un gair arall cyfystyr iddo, yn cael ei ddefnyddio gymmaint ag unwaith o'i fewn yn y ffurf o *orchymmyn* i ddeiliaid yr oruchwyliaeth Gristionogol. Na chamddealled y darllenydd ein meddwl. Mae y *gair* degwm yn cael ei arferyd mewn lluaws o fanau gyda chyfeiriad at y rhai oedd yn ei arfer dan y gyfraith; ond gyda golwg arno fel *gorchymmyn* i ddeiliaid yr Eglwys Gristionogol, dywedwn etto nad ydyw i'w gael.

(3.) *Mae y cyfnod hirfaith a gyfryngodd rhwng yr oes apostolaidd a dechreuad yr arferiad o ddegymu yn profi anysgrythyroldeb y ddefod.* Heblaw nad oes yr un gorchymmyn nac esiampl o'r arferiad yn y Testament Newydd, aeth canrifoedd heibio ar ol cau y Gyfrol Ysbrydoledig i fyny cyn bod son am dano yn yr eglwys foreuol. Dywed Tertulian, yr hwn a flodeuai tua diwedd yr ail

ganrif, fod crefydd yn ei amser ef yn hollol rydd oddi wrth unrhyw rwymedigaeth arianol (*pecuniary charge*); ond fod aelodau eglwysig pan yn ewyllysio, a'u hamgylchiadau yn caniatau, yn dwyn eu rhoddion yn wythnosol neu fisol i drysorfa yr eglwys. Yn awr, gan fod y Testament Newydd, llyfr ein crefydd, yn ddystaw ar y mater, a bod cynnifer o oesau wedi treiglo ymaith cyn bod son am dano, pa fodd y mae cyssoni hyn a haeriadau y blaid eglwysig mewn perthynas i gyfreithlondeb yr arferiad? Er fod lluaws o honynt yn ysgolheigion pur dda ar rai pynciau, bron a bod yn ddigon da i gyssoni anghyssonderau, etto, hyd nes yr argyhoeddir ni, credwn yr erys y mater hwn yn dywyll ac anghysson, hyd y nod iddynt hwy. Rhaid addef wrth anturio at y gorchwyl hwn, fod dechreuad y cyfnod degymol yn orchuddiedig â llawer o niwl y canoloesoedd, a bod yr arferiad wedi myned trwy luaws mawr o gyfnewidiadau yn flaenorol i'w ffurf bresenol. Ond os ydyw hanesiaeth yn gyfryw ag y gellir rhoddi coel arni—ac nid oes yn bresenol ddim arall i ddibynu arno—ymddengys i ni mai gwir berchenogion y rhan fwyaf o'r gwaddoliadau a wnaed gan freninoedd a thir-feddiannwyr yr oesau boreuol ydyw y Pabyddion. Yn y cyfnod saith-lywyddol (*heptarchial period*) y dechreuwyd ar y degymau a'r cymmun-roddion tuag at gynnaliaeth crefydd.

Dichon, er mwyn yr anghyfarwydd, y dylid rhoddi gair o eglurhad ar y term uchod. Wedi ymadawiad y Rhufeiniaid o Brydain, ac i'r Saxoniaid sefydlu yma, rhanwyd Lloegr yn saith teyrnas annibynol, y rhai a lywyddid gan saith o wahanol dywysogion, un o ba rai a gydnabyddid gan y lleill fel pen-arglwydd. Gelwid y tywysog hwn yn

"Britwalda," gair Saxonaidd, yn arwyddo rheolwr neu lywodraethwr Brit (Prydain.) Dywedir i saith neu wyth o'r tywysogion Saxonaidd arddelwi y teitl hwn o Hengist i Egbert, brenin olaf Wessex, yr hwn a ddygodd yn agos holl Brydain dan ei lywodraeth cyn ei farw. (Gwel "Hanes Prydain Fawr," tud. 26.) Yn y cyfnod dan ein sylw, yr oedd y wlad yn orchuddiedig gan dywyllwch y Babaeth, a breninoedd a deiliaid yn ddarostyngedig i ystrywiau dichellgar ei hesgobion a'i chlerigwyr—yr oeddent wedi eu dallu gymmaint gan hudoliaethau y butain Fabilonaidd, fel y tybient fod arllwys cyfoeth lawer i'w llogellau yn ddigon o iawn am bob pechod a allent gyflawni. Y ffordd a ddyfeisiodd Offa, un o'r breninoedd crybwylliedig, i wneyd iawn am lofruddio Ethelbert pan aeth ato i wneyd cytnndeb priodasol â'i ferch, oedd cyfodi degwm ar ei holl ddeiliaid, yn nghyda rhoddi ystad o'i diriogaeth at wasanaeth yr Eglwys Gadeiriol yn Henffordd. (Gwel "History of Great Britain," vol. ii. p. 40; "Collier's Eccles History," vol. i. p. 334.) Pan oedd Athelstan yn ewyllysio tawelu ei gydwybod ar ol lladd Edwin ei frawd, arllwysodd swm o gyfoeth i arffed yr eglwys. Yr un modd Edgar hefyd, yr hwn fu a llaw yn llofruddiaeth ei frawd Ethelwold er mwyn meddiannu ei wraig. Gallesid yn hawdd luosogi ennghreifftiau, ond i ba beth y blinaf y darllenydd? Fel hyn, oddiar y dybiaeth dwyllodrus fod agoriadau y byd anweledig yn crogi wrth wregysau yr esgobion a'r offeiriaid Pabaidd, ac er mwyn cael mynediad buan o'r purdan i baradwys, rhoddent symiau anferth o arian, a darnau eang o diroedd at eu gwasanaeth, yn nghyda gorfodi degymau ar eu deiliaid tlodion. Nid yw yn ymddangos y gellir olrhain

dechreuad y degwm yn mhellach yn ol nâ chanol yr wythfed ganrif, ac nid oes sicrwydd ei fod y pryd hwnw ond yn rhai o'r taleithiau saith-lywyddol. Yn amser Egbert daeth y saith talaeth i fod yn un deyrnas, ac i gael eu llywodraethu gan un brenin. Bu Egbert yn teyrnasu ar holl Loegr am oddeutu wyth mlynedd. Bu farw yn 836, ac fe'i claddwyd yn Winchester, yn yr hwn le yr arferai gyfaneddu fynychaf. Y nesaf i esgyn i deyrngadair Lloegr oedd Ethelwlph, mab Egbert. Yn mhen 18 mlynedd ar ol ei orseddiad, ac o fewn dwy i'w farwolaeth, ymunodd â'r Esgobion Pabaidd i wneyd deddf i orfodi ei holl ddeiliaid i gyssegru un rhan o ddeg o gynnyrch eu tiroedd at wasanaeth yr Eglwys Lân Gatholig a'i swyddogion santaidd. Er mwyn boddlonrwydd i'r darllenydd, gosodwn yr hen *charter* hono dan ei lygaid, fel y cyhoeddwyd hi gan y brenin ei hun. Mae yn geirio fel y canlyn :—

"Yn gymmaint ag i ni weled yn ein hamser losgiadau, rhyfeloedd, difrodiad ein gwlad, ac annhraethiad ein tir ; ac yn gymmaint ag i ni oddef y gorthrymderau erchyllaf oddiwrth genedloedd barbaraidd, fel cosb am ein bai, nes bron ein dyfetha ; ac am fod amseroedd enbydus yn awr yn crogi uwch ein pen, yr wyf fi, Ethelwlph, brenin y Saxoniaid Gorllewinol, yn ol cynghor fy esgobion, a gwyr mawr fy nheyrnas, yn penderfynu ar un feddyginiaeth o rinwedd cyffredinol, sef ar i mi offrymu i Dduw, ac i'r fendigedig Forwyn, ac i'r holl saint, ryw gyfran o'm teyrnas—*sef y ddegfed ran*—trwy ddeddf dragywyddol, ac i'r rhan o hono fod yn rhydd byth oddiwrth bob gwasanaeth, treth, a theyrnged, er iechyd fy enaid a maddeuant fy mhechodau. Sefydlwyd hyn yn Eglwys Sant Pedr, yn Winchester, ger

bron yr Allor Fawr, yn y flwyddyn 855 o ymgnawdoliad ein Harglwydd, er anrhydedd Sant Mair, yr ogoneddus Forwyn, mam Duw, a Sant Michael yr Archangel, a'r bendigedig Pedr, tywysog yr apostolion, yn nghyd â'n bendigedig Dad, y Pab Gregory, a'r holl saint."

Yr uchod, ddarllenydd, o ran dim a wyddis yn amgen, oedd y ddeddf gyntaf a gyhoeddwyd erioed i orfodi degwm ar yr holl ddeiliaid mewn modd cyffredinol. Y ddegfed o bob peth, y ddegfed o'r gwenith, ceirch, haidd, moron, cloron a maip; y degfed ceffyl, eidion, mochyn, &c.; y ddegfed ddafad, ŵydd, hwyaden, iar, &c.; a digon tebyg pe buasai rhywbeth i'w gael ar lygod, y buasent yn gofyn y ddegfed o'r rhei'ny hefyd. Gelwir y ddeddf uchod yn "feddyginiaeth o rinwedd cyffredinol;" ond gellir gofyn heddyw, yn mhen mil o flynyddoedd ar ol ei sefydliad, pa les sydd wedi deilliaw o honi i'r eglwys ei hun neu i'r wladwriaeth? Gallesid yn hawdd dwyn lluaws o ffeithiau galarus i'r gwrthwyneb. Fe gofia'r darllenydd mai nid am yr Eglwys Sefydledig yr ydym yn son yn bresenol, ond am gyfnod o yn agos i saith cant o flynyddoedd cyn bod son am dani—y cyfnod hwnw pan oedd y bwystfil seithben yn tramwyo trwy y wlad, gan sathru mewn modd didrugaredd ar iawnderau y deiliaid y ffordd y cerddai. Ond hwyrach y dylid crybwyll yn y fan hyn mai yr un arferiad a ddygid yn mlaen gan yr Eglwys Sefydledig o adeg ei chychwyniad hyd o fewn rhyw bedair-blynedd-a-deugain yn ol. Yn y flwyddyn 1838 y daeth Deddf y Newidiad (*Commutation Act*) i weithrediad, a'r unig wahaniaeth sylweddol yn awr i'r hyn oedd yn flaenorol i sefydliad y ddeddf uchod ydyw, fod y clerigwyr yn derbyn y degwm mewn arian yn lle mewn gwerth arian.

Yn awr, gan mai perthyn i'r Eglwys Babaidd y mae y gwaddoliadau a'r degwm yn wreiddiol, onid cyfiawnder yn y ferch (Eglwys Loegr,) pan drowyd hi allan o'i thiriogaeth gan Harri VIII. yn nechreu yr 16eg ganrif, fuasai caniatau i'r hen wreigen gymmeryd ei heiddo gyda hi? Ond yn lle hyny, y tro cyntaf y cyfarfyddodd y Senedd ar ol priodas ddirgelaidd Harri gydag Anne Boleyn, yn y flwyddyn 1538, dyna gyhoeddiad yn myned allan fod ffrwd y degwm, a "cheiniogau Pedr," i gael eu troi o gyfeiriad yr Eglwys Babaidd tuag at gynnaliaeth yr eglwys newydd spon ag oedd Harri o hyny allan i fod yn ben iddi. Ond dyna, gan mai mam a merch ydynt, dichon mai goreu pa leiaf a ddywedir rhyngddynt. Dywedai Cardinal Manning a Dr. Newman, y rhai fuont unwaith yn glerigwyr selog yn yr Eglwys Sefydledig, fod y ferch yn parhau yn hynod garedig i'r hen wreigen Babyddol trwy fagu meibion a merched braf iddi bob blwyddyn. Fe wel y darllenydd mai ein dyben wrth ymdroi cyhyd gyda'r mater hwn, ydyw profi y gosodiad a roddwyd i lawr yn y dechreu, sef fod eglwys yr Arglwydd Iesu ganrifoedd lawer yn hynach na'r degwm, a'r degwm, o'r tu arall, ganrifoedd lawer yn hynach na'r Eglwys Sefydledig. Dywedwn etto, gan hyny, os oes rhywun mwy nâ'r llall yn meddu hawl i'r degwm a'r cymun-roddion, mai yr hen *father* o Rufain, tad puteiniaid yr holl ddaear, ydyw hwnw. Gresyn i'r ferch, pan ar wahan oddiwrth ei mam, ymddwyn mor *shabby* tuag ati.

II. Nad ydyw y degwm fel y defnyddir ef yn bresenol yn cyfarfod a dyben ei sefydliad gwreiddiol. Yn awr, a chaniatau er mwyn dadl, (cofier mai er mwyn hyny yn unig yr ydym yn caniatau) fod y degwm yn seiliedig ar hawliau

cyfiawn, onid tegwch fuasai iddo gael ei ddefnyddio i'r dybenion a fwriadwyd iddo ar y cyntaf? Dros amryw ganrifoedd ar ol ei sefydliad bu yn cael ei ddosparthu i dair rhan; un rhan tuag at gynnaliaeth yr esgobion a'r clerigwyr, rhan arall tuag at adgyweiriadau yr eglwysdai (*fabrics*), a'r drydedd tuag at gynnaliaeth y bobl dlodion. Ond gofynwn, a ydyw yn cael ei ddefnyddio at y gwahanol ddybenion hyn yn bresenol? Gwyr pawb sydd wedi talu ychydig sylw i'r mater, nad ydyw. Mae y dosparth a gamenwant eu hunain yn esgobion a bugeiliaid y bobl, fel gwartheg culion Pharaoh, wedi llwyr lyncu o'r golwg gyfran yr adgyweiriadau, a chyfran y tlodion. Os yw y tlodion i gael eu cadw uwchlaw angen yn bresenol, rhaid sefydlu treth bennodol ar eu cyfer, a thrwy hyny suddo yn ddyfnach i logell yr amaethwr ac ereill. Os bydd galwad am ddiwygio rhywbeth ar yr adeilad, neu y tir cyssegredig, megys helaethu'r fynwent, codi'r clochdŷ, rhoddi tô newydd, &c., rhaid iddo ddisgyn fel barcud ar ysgwyddau y plwyfolion, druain. Ac oddiar ryw gymhellion neu gilydd, megys parch i'r meirw, ofn digio'r offeiriaid, neu ddal gwyneb i ryw ddarn o foneddwr a ddygwydd fod yn byw gerllaw, mae yn resyn gorfod dweyd y ceir lluaws o honynt, a'r rhai hyny yn Ymneillduwyr proffesedig, yn ddigon gwasaidd, ac *indiarubaidd* eu cydwybodau i ymostwng i bob dynol ordinhad. Oni bai gwastraff a moethau bugeiliaid y corlanau, byddai derbyniadau blynyddol yr eglwys yn fwy na digon i gyfarfod ei holl dreulion.

III. Fod yr Eglwys Wladol, er derbyn symiau aruthrol yn flynyddol, wedi methu dyfod i fyny ag amcan proffesedig ei sefydliad. Nid anfynych y clywir y waedd o ryw

gyfeiriad neillduol mai yr Eglwys Sefydledig yw eglwys y bobl; mai hi sydd yn cyfarfod a g angenion y werin. Rhag i neb dybied ein bod yn gwneyd haeriadau heb sail, godd-efer i ni edrych am fynyd pa beth a ddywed ystadegaeth ar y pen hwn. Yn ol y cyfrifiad diweddaf a wnaed (1871) nid oedd mynychwyr yr Eglwys Sefydledig yn rhifo dros 18 y cant o rifedi poblogaeth y deyrnas. Nifer poblogaeth Cymry a Lloegr yn y flwyddyn uchod oedd ychydig dros *ddwy filiwn ar hugain a haner* (22,712,266), ond o'r cyfrif hwn, nid oedd ond rhywbeth fed pedair miliwn (4,000,000) yn eistedd rhwng muriau yr Eglwys Sefydledig. Felly mae dros ddeunaw miliwn (18,000,000) o wynebau yn gyfeiriedig at Ymneillduaeth; fe welir, o ganlyniad, fod yr eglwys a gamenwir yn *Church of the Nation* wedi methu yn amcan proffesedig ei sefydliad. Tra y ceir addoldai Ymneillduol mewn lleoedd gwledig yn llawnion bob Sabboth o ddynion awyddus i wrando yr efengyl, ceir y llanau yn llonydd, ac yn hanner pydru yn eu segurdod. Ond nid yw o gymmaint pwys gan lawer o'r bugeiliaid fod y bobl yn cefnu am gorlanau Ymneillduol ond i'r degwm aros yn ei mysg hwy. "Meistr anwyl," meddai clochydd wrth y person yn ddiweddar, (heb fod yn neppell oddiwrth ystafell yr ysgrifenydd) "mae'r bobl i gyd yn myned i gapel y ——." "Ydan, ddigon gwir," oedd yr ateb, "ond welaist ti ddim o'r degwm yn myned gyda nhw, ai do, Wil?" Yr oedd y ffaith uchod yn llonder nid bychan i galon yr hen frawd parchedig yn ei segurdod. Mae Ymneillduaeth yn lluosocach mewn addoldai, mewn aelodau, mewn gwrandawyr, mewn pregethwyr; mewn gair, mae yn lluosocach mewn pob peth, ond mewn *arian*. Yr eglwys sydd yn y pant, ac i'r

goriwaered y treigla cregyn heddwch. Dygwyddodd yn ddiweddar, mewn pentref gwledig yn swydd Gaernarfon, i weinidog Ymneillduol ddyfod i gyfarfyddiad âg offeiriad y plwyf hwnw yn siop y cigydd. Wrth glywed yr olaf yn rhoddi *orders* am luaws o bwysi o *round* goreu o *beef*, ac yn gwybod fod yn rhaid iddo ef, druan, foddloni ar lai o *quantity*, a gwaelach *quality* na'i gymydog parchus, efe a drodd ato gyda gwên siriol ar ei ael, a dywedodd wrtho mewn tipyn o *joke* diniwed, "Mae y gwahaniaeth sydd ryngom, Mr. ——, i'w weled yn bur amlwg hyd y nod yn siop y cigydd. Onid ydyw yn helynt o beth eich bod chwi yn gallu fforddio prynu y darnau goreu o'r *beef* yma, tra y mae yn rhaid i mi foddloni ar rywbeth salach na'i gilydd, neu fod heb ddim ?"

*Yr Offeiriad.*—" O, nac ydyw ; mi ddylwn i gael gwell cig na chwi, a chwaneg o hono hefyd."

*Y Gweinidog.*—" Pa fodd y medrwch gyfrif am hyny, gan fod ein galwedigaeth rywbeth yn debyg o ran natur a llafur ?"

*Yr Offeiriad.*—" Wel, fel hyn ; y mae genych chwi lon'd eich capel o ddynion i bregethu iddynt bob Sabboth, onid oes ?"

*Y Gweinidog.*—" Digon gwir ; ond beth sydd a wnelo hyny a phwnc y cig yma, Mr. —— ?"

*Yr Offeiriad.*—" Oes, y mae cryn lawer a wnelo hyny â'r *beef*. Onid ydych yn ystyried fod yn ofynol i mi wrth lawer chwaneg o nerth gewynol i bregethu wrth lon'd eglwys o seti gweigion nag i chwi wrth bregethu i lon'd eich capel o ddynion byw, effro, a theimladwy ?"

"Wel, wel," ebe'r gweinidog, dan chwerthin yn *hearty*, "dyna'r *argument* gryfaf a glywais er's talm dros dderbyn degwm." Ar hyn ymadawsant â'u gilydd hyd y tro nesaf.

Mae genym bob sail i gredu na byddai dim yn fwy o feddyginiaeth i'r eglwys nag iddi gael ei rhyddhau oddiwrth nawddogaeth y Llywodraeth. Nid opiniwn personol yn unig yw hyn, ond barn oleu-bwyll rhai o'r enwogion mwyaf llygadgraff fu rhwng ei muriau erioed. Y diweddar Ddeon Alford a ddywedai ar un achlysur fel y canlyn:— "Nid yw diwygiad effeithiol yn yr eglwys tra mewn cyssylltiad â'r Llywodraeth ond gwagdybiaeth, ac felly, goreu pa gyntaf iddi ymryddhau." Gallem yn hawdd ddyfynu brawddegau o eiddo Gladstone, Canon Liddon, Dr. Pusey, ac ereill i'r un perwyl. Pan fydd cewri meddyliol o urddas a safleoedd yr enwogion uchod yn codi ar eu traed i siarad ar unrhyw fater perthynol i'r "sefydliad gwladol," mae yn llawn bryd i'r mân betheiach chwyddedig sydd islaw iddynt roddi clust o ymwrandawiad, a llygadu am ryw alwedigaeth fyddo yn cyfateb i'w galluoedd meddyliol yn well na'r un a geisiant ei hanner lenwi yn bresenol.

## IV. Y MANTEISION A DDEILLIAI ODDIWRTH DDADGYSSYLLTIAD.

Er i ni draethu ychydig ar hyn yn ein sylwadau blaenorol, awn rhagom yn yr un llwybr, gan nodi yr ystyriaethau canlynol:—

(1). *Y byddai Dadgyssylltiad yn fanteisiol i'r Llywodraeth.* O herwydd y cyssylltiad sydd rhwng crefydd a gwladwriaeth yn y deyrnas hon, bydd mwy na hanner y Senedd-dymhor yn cael ei dreulio yn fynych i ymdrin â

materion eglwysig, pryd, mewn gwirionedd, y bydd materion ereill llawer iawn pwysicach i'r Wladwriaeth yn cael eu hesgeuluso. Dylai yr eglwys feddu digon o ymddiriedaeth yn ei Duw i allu dweyd wrth deulu Sant Stephan, "*hands off*; gofalwch chwi am les tymhorol y deiliaid, a bydd i mi ofalu am eu mater ysbrydol." Dywed rhywrai, pe gwnelid hyn, y darfyddai am dani. Dywedwn ninnau, os felly y mae, darfydded. Os nad yw Duw ynddi, nid yw yn werth ei chynnal a'i chadw. Ond ymddengys i ni mai yr oll a wnai dadgyssylltiad, fyddai taflu yr eglwys yn ol ar ei hadnoddau cyntaf, ac ar nerth ei Duw. Nid oes rhaid i'r Eglwys Gristionogol wrth ategion llywodraethau daearol, oblegyd llwyddodd (pan, yn ol pob ymddangosiad allanol, yn ei man gwanaf) pan oedd yr holl lywodraethau hyn yn ei herbyn. "Hyn yw gair yr Arglwydd at Zorrobabel, gan ddywedyd, nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd, medd Arglwydd y lluoedd." (Zech. iv. 6.

(2). *Byddai dadgyssylltiad yn fanteisiol i'r eglwys ei hun.* Fel y mae yn bresenol, nid oes ganddi lais na dewisiad yn neb o'i swyddogion. Prif-weinidog y llywodraeth ar y pryd, a'r Penadur sydd yn meddu hawl i ddewis ei hesgobion. Mawr y pryder, y siarad, y proffwydo, a'r ysgrifenu sydd y dyddiau hyn (Rhagfyr, 1882) mewn perthynas i olynwyr Archesgob Caergaint, ac Esgob Llandaf; nid oes wybod etto pwy fyddant, mae y dewisiad yn hollol yn llaw Mr. Gladstone a'r Frenines. Nid yw o gymmaint pwys beth fydd daliadau crefyddol y Prif-weinidog, pa un ai Pabydd, a'i Anffyddwr, a'i Protestant, a'i Iuddew fydd, mae y safleoedd uchaf yn yr eglwys yn hollol at ei ewyllys ef. Yr esgobion drachefn sydd i bennodi

bywioliaethau i'r mân swyddogion sydd islaw iddynt, a dyna lle maent yn un gadwyn ddidor o'r Archesgob yn Canterbury i lawr hyd at y curad a'r sexton yn cynnorthwyo eu gilydd i wneyd y peth nesaf i ddim. Onid yw yn ormod o beth, ddarllenydd, fod cynnulleidfa o ddynion yn ymgyfenwi ar enw Crist yn rhwymedig i gymmeryd pwy bynag a gynnygir arnynt, "a hwythau," ys dywedai Spurgeon, "fel cŵn wedi eu mwslo wrth y cwb." Os ydynt yn proffesu gwarogaeth i ddysgeidiaeth y Testament Newydd, dylent wybod mai hawlfraint perthynol i'r eglwys ei hun ydyw dewis ei hesgobion a'i bugeiliaid, ac nid oes un dyn, na chorff o ddynion, o'r tu allan iddi yn addas i farnu eu cymhwysderau. Ond yn ol y gam-drefn un-benaethol bresenol, gorfodir y plwyfolion, bodd neu anfodd, i dderbyn arolygwyr i'w bugeilio, didalenteiddiwch y rhai nis gallant werthfawrogi. Byddai yn hawdd enwi lluaws o rieni crefyddol, ac yn eu plith Ymneillduwyr, a roddant eu meibion yn bersoniaid yn unig er mwyn *good living*. Rhaid fod ganddynt gydwybodau hynod o ystwyth.

(3). *Byddai dadgyssylltiad yn fanteisiol iawn i'r offeiriad.* Pe ceid hyn oddiamgylch, byddai rhyw obaith i dalent a gras gael eu gwobrwyo. Yn ol y *system* bresenol, ceir dynion o athrylith a doniau uwchraddol yn gwasanaethu fel *scripture readers* a churadiaid am y peth nesaf i ddim i rectoriaid a ficeriaid, pan y mae cyfiawnder yn galw am bethau yn y gwrthwyneb. Mae mwy o waed a phartiaeth yn yr Eglwys Sefydledig na'r un cyfundeb crefyddol arall yn y Dywysogaeth. Dywedodd cyfaill wrthym y dydd o'r blaen, yr hwn sydd ar ddechreu ar ei grefft guradyddol, fod *Southmen* mewn llawer gweli man-

tais am fywioliaeth dda yn yr esgobaeth y perthynai ef iddi na *Northmen*, am y rheswm mawr fod arglwydd yr esgobaeth yn hwntw ei hun. Fe wyr y darllenydd mai teilyngdod, hyd y gellir, a gydnabyddir gan y gwahanol bleidiau Ymneillduol, ac nad agorir drws y pwlpud i neb heb radd o foddlonrwydd fod y cyfryw yn meddu ar y cymhwysderau angenrheidiol i'r swydd. Digon gwir y methir weithiau, ond y mae yr holl fethiantau yn dygwydd mewn achosion nad ellir eu rhagweled, ac yn gyfryw, o ganlyniad, nad oes neb ond y twyllwyr eu hunain yn gyfrifol am danynt. Ond y mae yr ennghraifft uchod a'i chyffelyb yn awgrymu pethau tra gwahanol am beiriant y wladwriaeth. Bydd y curad yn llawer tebygach o gael ei ddyrchafu i fywioliaeth dda yn yr eglwys am ymdrechu cadw'r degwm o'i mewn, nag y bydd am ddysgu'r bobl yn ffurf crefydd a chadw eneidiau rhag yr ail farwolaeth. Os myn y rhai isel-radd ddringo i safle'r ficer, y canon, y deon, &c., dadleuant dros y degwm, &c.; ac, ond odid, na byddant yn sicr o lwyddo. Cydnabyddwn yn barchus fod yn yr eglwys luaws o ddynion rhagorol—dynion o dalentau dysglaer a chyrhaeddiadau eang—dynion o ysbryd rhydd, teimlad hynaws, a chalonau haelfrydig; ond, fel y dywedodd ein cymmydog agosaf y dydd o'r blaen, yr ydym yn methu yn glir a gweled pa reswm all fod yn hyny dros i ni dalu yn annghyfiawn at eu cadw, mwy nag iddynt hwythau dalu at gadw gweinidogion Ymneillduol. Ac er y rhagoriaethau uchod a berthyn i lawer o honynt, yn lle eu gweithio allan, a'u cymmysgu a theimladau da pobl ereill, os mynant fod yn *favourites* i'r esgobion, rhaid eu mygu yn y fynwes. Nid oes gwell enw ganddynt ar Ymneillduwyr na hereticiaid, ac fel y cyfryw, ni chaniateir

iddynt ymgymmysgu a hwy, na thywyllu eu capelau, ond ar adegau pan fyddo athrawiaeth y degwm yn cael ei gwyntyllu. Rhuthrant i'r perygl yr adeg hono, fel y ci trachwantus hwnw a neidiodd i ganol y llyn, gan dybied mai hanner cosyn o gaws oedd llun yr hanner lleuad.

(4) *Byddai dadgyssylltiad yn fanteisiol i grefydd yn gyffredinol.* Mae yn perthyn i grefydd ddylanwad cryfach na dylanwad brenin, gorsedd, a senedd ddaearol—dylanwad cariad a gras Pen yr eglwys ei hun—y dylanwad hwnw a ennilla ddynion o wir ewyllys eu calon i dreulio ac ymdreulio dros y gwirionedd—y dylanwad hwnw a'u dug i gyssegru eu meddiannau a'u da i anfon gwybodaeth o'r Arglwydd dros wyneb yr holl ddaear. Beth ydyw y miloedd capelau sydd yn addurno gwyneb ein gwlad? Onid colofnau o haelfrydedd gwirfoddol y bobl sydd yn ymdyru iddynt? Pa fodd y cynnelir miloedd gweinidogion y gwahanol gyfundebau Ymneillduol? Onid trwy roddion ewyllysgar y tyrfaoedd a gyrchant yn Sabbothol i'w gwrandaw? Ar ba egwyddor y mae y cymdeithasau beiblaidd, cenadol, traethodol, &c., yn seiliedig? Onid ar egwyddor wirfoddol eu cefnogwyr ffyddlawn? Pa fodd, tybed, y mae y cenadon yn dweyd wrth y pagan pan yn estyn copi o'r Beibl iddo? Ai dweyd fod deddf wedi ei sefydlu yn Mhrydain Fawr i orfodi y deiliaid i gyfranu tuag ati? O, na, trwy drugaredd; byddai dweyd felly yn tueddu i greu gelyniaeth rhyngddo â gair y bywyd, a'i wrthod gyda diystyrwch. Ond dyweder wrtho fod cyfoethogion y tir yn cyfranu eu symiau mawrion yn flynyddol, a hyny yn unig oddiar gariad tuag ato ef, efe a'i derbynia gyda gwên ar ei wyneb. Dyweder wrtho drachefn fod y gweithiwr diwyd

a'r weddw dlawd yn cydfwrw eu hatlingoedd i'r blwch cenadol ar nos Lun cyntaf yn y mis, a bod gwlad y bryniau ar yr un adeg yn adsain o gwrbwygilydd gan weddïau y saint ar ran ei Iachawdwriaeth ef, buan y ceir gweled ei ddagrau gloewon yn golchi ei ruddiau melynddu wrth ddatgan i Dduw ddiolchgarwch gwresocaf ei galon. Rhodder ar ddeall iddo yn mhellach, fod plant bychain ein dinasoedd a'n trefydd yn cerdded o ddrws i ddrws ar ddyddiau oerion Nadolig, a'r cardiau cenadol yn eu llaw i ofyn am ddimai neu fwy i anfon gwybodaeth i'r pagan tywyll am ymddangosiad "dymuniant yr holl genedloedd," efe a'i derbynia gyda llawenydd, ac a'i myfyria gyda hyfrydwch, nes yn raddol y daw i deimlo fod ei enaid yn gwynu o dan ei groen du. Mae rhywbeth yn yr egwyddor wirfoddol sydd yn gydnaws a theimladau cyssegredicaf y natur ddynol, ac yn rhwym o lwyddo i gyrhaedd amcanion grasol Duw yn nychweliad y byd i'w Fab. Dywed rhyw hen air fod yn rhaid dyoddef yr hyn nas gellir ei wella. Mae hyny, wrth gwrs, yn tybied fod y clefyd neu y ddamwain yn anfeddyginiaethol. Ond credwn nad oes rhaid dweyd hyny am yr Eglwys Sefydledig. Mae yn wir, oddiar pan rwymwyd hi â raffau y ddeddf wrth gyrn yr orsedd, ei bod wedi dyoddef poenau annesgrifiadwy! Ac yn wyneb fod y *bandages* wedi bod cyhyd am dani, maent yn ei dolurio gymmaint wrth geisio eu tynu ffwrdd, fel y mae bron yn fwy dewisol gan y druanes gael aros byth yn ei chyflwr caethiwus, na dyoddef y driniaeth o'i rhyddhau. Mae genym gydymdeimlad dwfn a hi, fel am bawb ereill yn yr un cyflwr; ond coded ei chalon, a bydded iddi wrth amynedd am ychydig yn hwy, ac yn fuan fe lwydda'r

doctoriaid sydd wedi cymmeryd at ei hachos i ddatod pob *bandage* oddiam dani, a bydd hithau mewn canlyniad, yn y mwynhad o'i rhyddid, yn canu caniadau ymwared, &c. Ychydig yw nifer cynnrychiolwyr Cymru y dyddiau hyn nad ydynt hyd braich ac ysgwydd yn bleidiol i ddadgysylltiad. Bydded rhwydd hynt iddynt i sicrhau eu hamcan gyda buandra.

V. Gwir berchenog yr eiddo.

Y ddadl fawr sydd wedi, ac yn parhau i fod yn destyn cymmaint o annghydfod rhwng y blaid eglwysig a'r Ymneillduwyr ydyw, yr eiddo—pwy ydyw gwir berchenog yr eiddo, pa un ai yr eglwys fel sefydliad crefyddol, neu ynte y wladwriaeth yn gyffredinol? I'r cwestiwn hwn y mae atebion gwahanol wedi eu cynnyg. Ateb yr esgobaethwyr ydyw mai yr eglwys fel corff crefyddol ydyw ei berchenog; ond myn eu gwrthwynebwyr mai eiddo perthynol i'r wladwriaeth ydyw. Yn awr, os perthyn i'r eglwys fel y cyfryw, y mae yr eiddo a gyfrenir tuag at ei chynnaliaeth, dywedwn yn ddibetrus nad oes gan y wladwriaeth, y Senedd, na neb arall, hawl i'w difeddianu o hono, ac nad yw cynnyg at hyn yn ddim amgen na chyssegr-ysbeiliaeth. Ond o'r tu arall, os y wladwriaeth ydyw gwir berchenog yr hyn a elwir yn feddiant eglwysig, yna y mae gan y wladwriaeth hawl fel y cyfryw i beri clywed ei llais yn y Senedd tuag at ddefnyddio yr eiddo i ryw wasanaeth arall a fernir ganddi wna ateb gwell dyben, neu ynte, os ewyllysia, ei ddiddymu yn gyfangwbl. Goddefer i ni edrych am ychydig pa fodd y'n dysgir gan hanesiaeth gyda golwg ar hyn yn y canrifoedd a aethant heibio. Mae yr Eglwys Sefydledig wedi myned

trwy luaws o gyfnewidiadau yn flaenorol i'w ffurf bresenol, a phob tro yr oedd y grefydd yn newid, yr oedd yr hyn a elwir yn "eiddo yr eglwys" yn newid hefyd. Gwyr pawb mai sefydlydd a phen y cyfansoddiad a adnabyddir yn bresenol wrth yr enw "Eglwys Loegr" ydoedd Harri VIII. Ar ol ei gyhoeddi ef yn ben yr eglwys, fe ddirymwyd i raddau mawr y llywodraeth Babaidd yn y wlad hon trwy waghau y mynachdai, a defnyddio yr eiddo at wasanaeth y sefydliad newydd. Harri, am ei waith yn ysgrifenu llyfr yn erbyn gweithiau Luther, oedd y cyntaf o freninoedd y deyrnas hon i wisgo y teitl o "Amddiffynydd y Ffydd;" yr hwn y maent, yn wrthun ddigon, yn ei arddel hyd y dydd hwn. Gyda chydsyniad ei weinidogion a'i gynghoriaid, cymmerodd afael yn yr allweddau, a hònodd iddo ei hun yr awdurdod mewn pethau crefyddol; mewn gair, daeth yn Bab ei deyrnas ei hun, yn ficer Duw, yn esboniwr y ffydd Gatholig, ac yn gyfrwng trosglwyddiad grasusau i'r bobl. Ac yn wyneb fod cynnifer o'r Pabyddion a droisid allan o'r mynachdai yn arwain bywyd crwydredig, ac yn peri aflonyddwch i'r llywodraeth, gwnaed cyfraith i'w dal, a'u gwneyd yn gaethion am ddwy flynedd; ac o herwydd hyny, ofnai y cyffredin y buasai eu perthynasau yn arosol yn y purdan gan nad oedd neb i weddïo am eu gollyngdod.

Olynydd Harri i'r orsedd oedd Iorwerth VI., ei fab o'r drydedd wraig, Jane Seymour. Yr oedd Harri yn gredadyn ymarferol yn y gair hwnw, "Nid da bod dyn ei hunan." Ac yn unol a'i gredo, cariodd ef allan hyd nes y priododd chwech o wragedd, y drydedd o ba rai oedd mam Iorwerth. Yn ystod teyrnasiad Iorwerth, yr hwn ni pharhaodd ond chwe' mlynedd, sefydlwyd amryw ddeddfau mewn cyssyllt-

iad ag addoliad cyhoeddus. Yn mysg ereill gellir nodi y rhai canlynol :—Bwrw allan y delwau cerfiedig o'r mwyafrif o eglwysi y deyrnas,—caniatau i'r lleygwyr yn gystal â'r clerigwyr gael cyfranogi o'r *sacrament*,—rhoddi hawl o benodiad esgobion yn llaw y brenin,—diddymu y ddeddf a waharddai i'r swyddogion crefyddol briodi,—cyhoeddi deddf unffurfiaeth, trwy yr hon y gorfodid pawb i addoli yn ol rheolau a dynwyd allan gan Esgob Cranmer yn y Llyfr Gweddi Cyffredin, &c. Fe wel y darllenydd fod y deddfau uchod yn gymmysgedig o dda a drwg, yr hyn y mae pawb yn agored iddo pan yn gwyro oddiwrth reol anffaeledig y gwirionedd. Ar farwolaeth Iorwerth, disgynodd y goron ar ben Mari. Merch Harri o'r wraig gyntaf, Catherine o Arragon, oedd hon. Ni pharhaodd teyrnasiad Mari ond am tua phum' mlynedd, yr hyn, yn ddiau, oedd yn llawn digon hir i greadur mor waedlyd.

Ar esgyniad Mari i'r orsedd, adnewyddwyd yr ymdrech rhwng y pleidiau crefyddol. Yr oedd hi yn Babyddes selog a phenboeth, a phenderfynai yn wyneb pob gwrthwynebiad, adsefydlu y grefydd Babaidd yn y deyrnas ; ac un o'i gweithredoedd cyntaf mewn cyssylltiad â chrefydd, oedd dadwneyd yr hyn a sefydlwyd gan Iorwerth yn y teyrnasiad blaenorol gan arfer y creulonderau mwyaf llymdost tuag at bawb a wrthodent ymostwng i'w thrahausder. Wedi dwyn ei hamcanion i ben gyda golwg ar hyn, dechreuwyd erlid y Protestaniaid ; cynneuwyd tânau Smithfield a lleoedd ereill, a gofalwyd eu porthi a thanwydd dros y gweddill o'i theyrnasiad. Gosodwyd angenrhaid ar ddynion naill ai i gydymffurfio â threfn bennodol o grefydd, neu ynte i ddyoddef cosp lymaf y gyfraith—i dderbyn athrawiaeth y

Pab, neu ddyoddef tân merthyrdod. Yr oedd gelyniaeth calon yn Mari tuag at y Protestaniaid, fel yr ymddengys oddiwrth un o'i llythyrau at Gardiner, yn yr hwn y tystiai mai ei bwriad sefydlog oedd llosgi pob Protestant o fewn y deyrnas. O herwydd anufudd-dod i'r ddeddf hon y cyhoeddwyd yr esgobion Hooper, Ridley, Latimer, Cranmer ac ereill, yn hereticiaid, ac y llosgwyd hwy i farwolaeth wrth y stanc.

Cofia rhai o'n darllenwyr i Latimer lefaru brawddeg wrth ei gydferthyr y pryd hwnw sydd wedi bod yn gymhorth i luaws mawr ar eu hol i ddyoddef yn llawen yr unrhyw driniaethau. Pan daflwyd y ffaglen danllyd gyntaf gan un o'r dienyddwyr at draed noethion Ridley, gwaeddodd ei gydymaith, a dywedodd, "Bydd gyssurus, Ridley, a saf yn wrol; bydd i ni trwy ras Duw oleuo y fath ganwyll yn Mhrydain heddyw na ddiffoddir byth mo honi." Llosgwyd yn amser Mari ddau gant a phedwar ugain a phedwar o Gristionogion, a syrthiodd yn aberth i'w malais tua phedwar cant, rhwng y rhai fuont feirw yn y carcharau, ac a newynwyd.

Bu hon mor enwog yn ei hoes fèr am ei chigeidd-dra barbaraidd, fel yr ennillodd yn gyfiawn y teitl gwaradwyddus o "Fari Waedlyd." Mae yr ansoddair "gwaedlyd" yn swnio fel cnul uffern wrth ei henw drwy yr oesau. Nid cynt y gwnaed crefydd y wladwriaeth yn grefydd Babaidd, nag y trowyd yr eiddo i'r un cyfeiriad; ac mae fod yr eiddo yn cael ei ddefnyddio tuag at gynnaliaeth crefydd y Penadur, beth bynag fyddo ei natur a'i nodwedd, yn brawf teg, ni dybiem, mai nid yr eglwys fel y cyfryw ydyw ei wir berchenog.

Y nesaf i eistedd ar deyrngadair Prydain oedd Elizabeth. Merch Harri o'i ail wraig, Anne Boleyn, oedd hon, ac felly yn hanner chwaer i Mari a Iorwerth VI. Cafodd Elizabeth fyw i deyrnasu am bump a deugain o flynyddoedd ; ac er ei bod yn cael ei nodweddu gan luaws mawr o ddiffygion, etto rhagorai ar ei hanner chwaer, Mari. Yn hytrach na dilyn ei rhagflaenydd i bleidio Pabyddion a lladd Protestaniaid, ymaflodd â'i holl egni yn y gorchwyl o ail sefydlu crefydd ei thad a'i brawd yn grefydd y wladwriaeth drachefn. Cawn hi yn y seithfed flwyddyn ar hugain o'i theyrnasiad yn pasio deddf yn gorchymmyn i bob Jesuit, a phob offeiriad Pabaidd ymadael o'r deyrnas o fewn deugain niwrnod o rybudd o dan boen marwolaeth, ac os dychwelai neb o'r cyfryw, y byddai yn euog o deyrnfradwriaeth ; a phwy bynag a roddai nawdd i'r cyfryw, a fyddai yn euog o gyflafan. O herwydd anufudd-dod i'r gorchymmyn hwn, dywedir i luaws o honynt gael ei dedfrydu i farwolaeth. Fe ddealla'r darllenydd mai nid ein hamcan yn hyn ydyw cyfiawnhau ymddygiad Elizabeth yn ei gwaith yn erlid a lladd Jesuitiaid a Phabyddion, mwy nag ymddygiad Mari yn lladd Protestaniaid am eu hegwyddorion gwahaniaethol. Ni pherthynwn i'r dosbarth sydd yn credu mewn lladd o fath yn y byd am ddaliadau crefyddol, ond y lladd hwnw a effeithir gan y gwirionedd ei hun trwy ddylanwad yr Ysbryd Glân.

Nid gartref yn unig y gweithiodd Elizabeth yn y cyfeiriad hwn, ond oddi cartref hefyd, oblegyd cawn hi, pan oedd y diwygwyr Lutheraidd yn cael eu gorthrymu yn achos eu crefydd gan y Pabyddion yn amser Francis II. yn isel-diroedd Ffrainc, yn eu cynnorthwyo mewn arian, ac arfau,

Fel hyn i raddau y parhaodd pethau trwy deyrnasiad Iago I., a Charles I. (1603—1649). Darfu i Iago, wrth weled ei ddeiliaid Seisonig yn ymroddi i'r pechod Puritanaidd o gadw y Sabboth yn rhy fanwl, gyhoeddi mynegiad yn anog i bob math o chwareuyddiaethau ar ddydd yr Arglwydd. Yn ei ddydd ef hefyd y ffurfiwyd dwy blaid yn y Senedd a'r deyrnas yn gyffredinol, y rhai a adwaenid wedi hyny wrth yr enwau Whigiaid a Thoriaid; y cyntaf yn sefyll dros ryddid a iawnderau y bobl, a'r olaf dros y brenin a'i lys a'i draws-lywodraeth. Canlynwyd dienyddiad Charles I. gan gyfnod y Werinlywodraeth dan Oliver Cromwell, yr hyn a barhaodd am oddeutu un-flynedd-ar-ddeg (1649—1660). Yn ystod y cyfnod hwn, nid y Babaidd na'r Esgobaethol oedd crefydd y wladwriaeth, ond yr Henaduriaethol neu Bresbyteraidd.

Canlyniedydd Cromwell oedd Charles II. (1660—1685). Nid hir y bu hwn wrth lyw y llywodraeth cyn i'r Esgobaethol ddyfod yn grefydd y wladwriaeth drachefn, yr hon mewn enw sydd wedi parhau hyd yn awr. Yn nheyrnasiad Charles II. y sefydlwyd tair o'r deddfau mwyaf gorthrymus yn hanesiaeth gwledydd gwareiddiedig y byd, y rhai sydd yn aros trwy y canrifoedd yn warthrudd ar Brydain yn nghyfrif cenedloedd y ddaear. Cyfeirio yr ydym at "Deddf Unffurfiaeth," "Deddf y Cynghordy" (*Conventicle Act*), a "Deddf y Pum' Milldir" (*Five Mile Act*). Daeth y gyntaf i weithrediad Awst 24ain, 1662, sef Dydd Gwyl Bartholomew. Dyma'r dydd bythgofiadwy y taflwyd dros ddwy fil o'r gweinidogion mwyaf cydwybodol a feddai yr Eglwys Sefydledig allan o fywioliaethau am wrthod cydymffurfio a rheolau y Llyfr Gweddi Cyffredin, yn mhlith y rhai y gellir

nodi yr enwogion adnabyddus, Dr. Owen, Richard Baxter, John Howe, Mathew Poole, Philip Henry, yn nghyda llu mawr ereill o gymmeriadau nad oedd y byd yn deilwng o honynt—dynion fel Daniel, a'r Llanciau yn Mabylon, nas gallesid cael dim yn eu herbyn "ond o ran cyfraith eu Duw." Gallwn ddweyd am danynt, eu bod y cymmeriadau goreu ag oedd gan yr Arglwydd ar y ddaear yn y dyddiau hyny; ac ni phetruswn ddweyd na fu eu rhagorach, os eu cystal, yn sangu lloriau y tir cyssegredig o hyny hyd yn awr.

Ond nid oedd hyn namyn dechreuad gofidiau, oblegyd yn mhen dwy flynedd (1664) dacw "Deddf y Cynghordy" (*Conventicle Act*) yn cael ei llunio a'i gosod mewn gweithrediad, amcan yr hon oedd gwahardd cyfarfodydd crefyddol lle y byddai pump o bersonau uwchlaw un-ar-bymtheg oed, heblaw teulu y tŷ, yn bresenol. Pwy bynag a geid yn euog o anghydffurfiaeth, a ddirwyid am y trosedd cyntaf i *bum' punt*, neu dri mis o garchariad; am yr ail drosedd, *deg punt*, neu chwe' mis o garchariad; ac am y trydydd trosedd, *cant punt*, neu alltudiaeth i'r America; a phwy bynag a ddiangai yn ol i'r wlad hon a osodai ei hun yn agored i ddedfryd drymaf y gyfraith. Ac os ceid gwragedd priod yn y cynnulliadau hyn, carcherid hwy am ddeuddeg mis, oddieithr i'w gwyr dalu *dwy bunt* am eu rhyddhad. Mewn canlyniad i'r ddeddf uffernol hon, dywedir i'r carcharau gael eu gorlenwi ag Ymneillduwyr, yn annibynol ar luaws mawr o gymmeriadau dysgleiriaf yr Eglwys Sefydledig. Yn mis Hydref y flwyddyn ganlynol (1665) pasiwyd "Deddf y Pum' Milldir" (*Five Mile Act*), neu fel y gelwid hi weithiau, "Deddf Rhydychain," am mai yno, o herwydd

y pla ofnadwy a dorodd allan y flwyddyn hono yn y Brifddinas, yr eisteddai y Senedd, ac y rhoddwyd hi mewn gweithrediad.

Amcan y ddeddf felldigedig hon etto oedd gwahardd i un o'r gweinidogion ysgymunedig ddyfod o fewn pum' milldir i unrhyw fwrdeisdref, nac i unrhyw fan lle y buont yn gweinyddu neu yn cadw ysgol yn flaenorol, oddigerth iddynt gymmeryd llŵ o ffyddlondeb diammodol i'r Llywodraeth; ac os troseddent, dirwyid hwy i *ddeugain punt*, o ba swm yr oedd un rhan i'r brenin, y rhan arall i'r tlodion, a'r drydedd ran i'r hysbysydd. Dyma yn fyr dair o'r deddfau gormesol a luniwyd gan feibion Belial yn eu cynghreiriau uffernol er selio geneuau gweision y Duw Goruchaf rhag iddynt fynegu y "newyddion da o lawenydd mawr" i'w cyd-ddynion yn ol argyhoeddiad eu cydwybodau. Ond, "Yr hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd a chwardd; yr Arglwydd a'u gwatwar hwynt."

Yr ydym mewn modd brysiog wedi dilyn y wladwriaeth, neu ein penau coronog a'n seneddwyr, i lawr trwy bump o gyfnewidiadau o amser Harri VIII. hyd yn awr. Mae y darllenydd yn barod i ofyn bellach, a ydyw yr hyn a elwir yn eiddo eglwysig wedi cael ei ddefnyddio tuag at y gwahanol grefyddau a nodwyd? I hyn nid oes ond un atebiad i'w gael, a hwnw ydyw y cadarnhaol. Pan ddaeth Harri o fod yn Babydd i fod yn Esgobaethwr, daeth a'r eiddo gydag ef. Pan drodd Mari Waedlyd y llifeiriant yn ei wrthol drachefn at Babyddiaeth, trodd yr eiddo i'w ganlyn. Yr un modd hefyd Elizabeth, Cromwell, a Charles II

Wel, yn wyneb hyn, pa beth ydyw yr unig gasgliad

rhesymol a theg a ellir ei dynu? Dyma fe, debygem; os yw penau coronog yn meddu hawl i ddefnyddio eiddo y wladwriaeth at gynnaliaeth y grefydd a broffesir ganddynt hwy, y canlyniad yw mai nid yr eglwys fel cyfansoddiad crefyddol ydyw ei berchenog, ond y wladwriaeth. Ac yn mhellach, os oes gan y wladwriaeth hawl i ddefnyddio yr eiddo at gynnaliaeth y grefydd a ewyllysia, paham, ar yr un tir, nad oes ganddi yr un hawl i atal ei chymhorth yn gyfangwbl oddiwrth bob math o grefydd, a defnyddio yr eiddo i ryw ddyben arall a farno hi yn oreu er lles y werin? Yn ol dim a welwn yn wahanol, nid yw yr esgobion, yr offeiriaid, &c., ond yn dal yr un berthynas yn gywir â'r llywodraeth â'r holl rywogaethau swyddogion ereill perthynol iddi, sef yw hono, y berthynas o swyddogion cyflogedig y wladwriaeth. Mae yn perthyn i'r Llywodraeth Brydeinig ei heddgeidwaid, ei barnwyr, ei milwyr, ei llyngeswyr, &c., ond addefa pawb nad oes yr un o honynt yn bodoli o angenrheidrwydd, ond yn hytrach, mai amgylchiadau neillduol cymdeithas sydd wedi eu galw i fôd. Ac y mae yn bossibl i amgylchiadau fod yn gyfryw etto mewn amser i ddyfod pan na fydd galwad am eu gwasanaeth. Pan wawria'r oes euraidd sydd mewn addewid yn y gair dwyfol,—i'r arfau rhyfel gael eu troi yn arfau tir—pan gurir y cleddyfau yn sychau, a'r gwaewffyn yn bladuriau, ac na ddysgont ryfel mwyach, ni bydd galwad am na heddgeidwaid, na barnwyr, na milwyr, na llyngeswyr, &c. Pan wel y wladwriaeth ei ffordd yn glir i ymlwybro heb wasanaeth y naill na'r llall o'r swyddogion uchod, bydd ganddi hawl i'w diswyddo, a defnyddio y miloedd arian a delir iddynt yn flynyddol i ryw ddybenion ereill.

Felly hefyd gyda golwg ar ein hesgobion, ein clerigwyr, &c. Fel y mae ein heddgeidwaid yn cael eu talu gan y llywodraeth am gadw trefn ar yr afreolus, ein barnwyr am weinyddu cyfiawnder rhwng y naill ddyn a'r llall, ein milwyr a'n llyngeswyr am amddiffyn ein gwlad rhag ymosodwyr estronol; felly hefyd y maent hwythau yn derbyn eu cyflogau gan yr un llywodraeth am yr esgus o gyfranu addysg grefyddol i'r deiliaid. Ac yn wyneb nad yw y mwyafrif o'r deiliaid yn credu yn iachusrwydd y dwfr a ffrydia allan o'r "*National Waterworks*," sef yr addysg grefyddol a gyfrenir o bwlpud yr Eglwys Sefydledig, a'u bod, o herwydd hyny, a rhesymau ereill llawn mor bwysig, yn cefnu arni i gorlan Ymneillduaeth, ac yn cyfranu yn wirfoddol tuag at gynnaliaeth y blaid neillduol y credant yn eu hegwyddorion; y mae ganddynt hawl i beri clywed eu llais yn y Senedd, i atal eu cyfraniadau anfoddog oddiwrthi, a'u defnyddio i ddybenion ereill. Y rheswm mawr fod cymmaint o anesmwythder yn mynwes y wlad y dyddiau presenol, ydyw y teimlad, bron cyffredinol sydd ynddi, fod y dydd wedi gwawrio pryd y dylai yr eglwys a'r llywodraeth gael ei hysgaru oddiwrth eu gilydd, ac i'r naill fel y llall edrych yn llwyrach ar ol y gwaith neillduol a berthyn iddynt.

### VI. Dadgyssylltiad yn gwestiwn o amser yn unig.

Cwestiwn a ofynir yn fynych ydyw hwn, "A ydyw yn beth tebygol, er yr holl siarad, y cymmer dadgyssylltiad yr eglwys oddiwrth y llywodraeth le rhywbryd?" Wrth sylwi ar y gwahanol alluoedd cryfion sydd o'n cwmpas, y rhai a geisiant frawychu y gwan a'r ofnog, yn nghyda rhoddi eithaf eu hegni ar waith yn erbyn pob diwygiad a gynnygir er lles cyffredinol y werinos, gofynir y cwestiwn uchod gan

luaws gyda gradd mawr o amheuaeth. Y mae genym seiliau digonol i gredu, ond cael Ymneilldwyr i weithredu yn gysson a'u hegwyddorion yn eu dewisiad o ddynion priodol i'w cynnrychioli yn Senedd Prydain, nad yw y dad-gyssylltiad ond mater o amser yn unig. Mae pob diwygiad mawr a phwysig o ba natur bynag y byddo, fel rheol, yn araf yn ei ddygiad oddiamgylch, ond yr hwn, yn ddiau, wedi y sicrheir, a erys mewn gweithrediad a grym dros amser hir.

Wrth son am "Ddadgyssylltiad yr Eglwys," yr hon sydd wedi bod am gynnifer canrif yn llechu dan nawdd y llywodraeth, a thrwy hyny fforddio byd da yn helaethwych beunydd i gynnifer a fuasent, yn ol pob tebyg, yn amddifad o hono oni bai hyny, yr ydys o reidrwydd yn dolurio man tyneraf calonau miloedd, ac yn cyffwrdd â'r hyn a brisir ganddynt yn nesaf at fywyd ei hun. Er mwyn osgoi y gair o broffesu anffaeledigrwydd, ni chymmerwn arnom y gorchwyl o geisio ateb y gofyniad uchod yn gadarnhaol, yn mhellach na dweyd hyn, fod lluaws o ddiwygiadau ag oeddent yn ymddangos yn llawn mor annhebyg â'r cwestiwn mewn dadl, wedi cymmeryd lle o fewn cof miloedd sydd yn fyw ac iach heddyw, a hyny, wrth gwrs, fel bob amser, ar waethaf swyddogion yr Eglwys Sefydledig. Wrth derfynu, ni a roddwn ychydig o enghreifftiau o'r lluaws gwelliantau sydd wedi cymmeryd lle o fewn corff y trugain mlynedd diweddaf.

(1). *Hawlfraint Ymneillduwyr i swyddogaethau gwladwriaethol.* Nid rhyw bell iawn yn ol y mae y cyfnod pan na chaniateid i unrhyw Ymneillduwr ddal swydd mewn

cyssylltiad â'r llywodraeth pa mor addas bynag o ran cymhwysderau naturiol ac addysgiadol, oddieithr iddo gyfranogi o'r cymundeb yn yr Eglwys Sefydledig. Buasai yn rhaid iddo am dymhor fyned yn aelod o Eglwys y Wladwriaeth er ei alluogi i gael yr hyn oedd yn hawlfraint naturiol iddo fel dinesydd Prydeinig, pa un a oedd yn credu yn ei gwasanaeth ai nad oedd. Byddai yr ymgeiswyr am swyddogaethau yn cael eu gwysio i ymddangos yn yr eglwys ar ddiwrnod pennodol, ac ar ol eu mynediad yno, dywedid wrthynt fel hyn, "A wel yr holl foneddigion, a ddaethant i gyfaddasu eu hunain, yn dda ddyfod i fyny yma." Yna elent i fyny at fwrdd y cymundeb, a chyfranogent o'r ordinhad gyda'r dyben ffugiol o gymhwyso eu hunain i'r swydd a bennodid iddynt. Onid oedd y fath arferiad yn achlysur o boblogi'r deyrnas ag ychwaneg o swyddogion rhagrithiol a Phariseaidd nag oedd ynddi yn barod? Pe na buasai am ddiddymiad y ddeddf anghyfiawn hon, y mae lle i ofni y buasem yn amddifad o'r fath bersonau anrhydeddus a John Bright, Henry Richard, Richard Davies, John Roberts, ac ereill, i'n cynnrychioli yn Senedd Prydain Fawr heddyw. Wel, y mae y ddeddf orthrymus hon, trwy drugaredd, er ys rhai degau o flynyddoedd bellach wedi ei rhoddi i gadw ar y *shilff*, gan obeithio, rhwng y llwch a'r llygod, y derfydd yn llwyr am dani allan o fodolaeth.

(2). *Cyfraith y priodasau.* Hawlfraint gyfyngedig i weinidogion yr Eglwys Sefydledig oedd gweinyddiad priodasau ychydig gyda deugain mlynedd yn ol. Os buasai rhyw ddau yn ewyllysio ymuno mewn glân briodas yn flaenorol i'r flwyddyn 1836, yr oedd yn rhaid iddynt wneyd

hyny yn eglwys y plwyf. Nid oedd mangre o fewn y deyrnas yn meddu ar ddigon o gyssegredigrwydd ond yr eglwys, na bôd yn meddu cyfaddasder i'r gweinyddiad ond yr offeiriad. Ond er y flwyddyn uchod, gellir priodi mewn unrhyw le o addoliad fydd wedi ei gofrestru i'r dyben hwnw, a chan unrhyw weinidog crefyddol yn mhresenoldeb y cofrestrydd; neu os ewyllysier, yn swyddfa y cofrestrydd priodasau.

Gresyn am y clerigwyr, druain, maent wedi colli llawer penadur oddiar newidiad y gyfraith hon ; nid rhyfedd, wrth ragweled y "golled hon," iddynt ymladd mor ddewr o blaid yr hen *system* geidwadol. Y peth nesaf mewn cyssylltiad a hyn, fydd gweinyddu priodasau mewn capelau Ymneillduol *heb* wasanaeth y cofrestrydd, megys ag y gwneir yn yr Eglwys Wladol. Gofaled Ymneillduwyr fod yn effro i'w hiawnderau pan ddaw y mater hwn i'w ddadleu o flaen y Senedd.

(3). *Y dreth eglwys.* Nid oes etto ond prin pedairblynedd-ar-ddeg oddiar y diddymwyd y dreth anghyfiawn hon. Yn flaenorol i'r flwyddyn 1868 gorfodid pob trethdalwr i gyfranu tuag at gadw gwen-wisg lân i'r offeiriad, a chael bara a gwin i'r cymundeb, &c. Cafodd aml un ei gau i fyny yn ngharcharau y wlad hon fel drwgweithredwr, am wrthod talu y dreth orthrymus hon. Ond yn y flwyddyn a nodwyd, er i'w diddymiad gyfarfod a'r gwrthwynebwyr mwyaf ffyrnig yn yr esgobion a'r offeiriaid, gwelodd ddydd ei thrancedigaeth, a chladdwyd hi a'i gwyneb tuag i lawr. O hyn allan, gan hyny, rhaid i'r person, fel dynion ereill, dalu am olchi ei grŷs ei hun.

(4). *Dadgyssylltiad yr eglwys yn yr Iwerddon.* Bu amser pan gynnelid yr Eglwys Sefydledig yn yr Ynys Werdd bron yn hollol gan ddosparth na fynai gredu yn ei hegwyddorion, yr hyn, yn benaf, sydd wedi achosi cymmaint o ddyeithrwch a drwg-deimlad rhwng y Gwyddelod a'r llywodraeth Saesonig. Ond y mae 1869 yn flwyddyn a hir gofir gan breswylwyr yr ynys gyda llawenydd, fel yr hon y cyhoeddwyd jubili yr eglwys yn ei rhyddhad oddiwrth nawddogaeth y llywodraeth wladol; a dywedir wrthym na fu dim erioed yn fwy o iechyd i gyfansoddiad yr eglwys na'i thaflu yn ol ar ei hadnoddau ei hun.

(5.) *Mesurau agor mynwentydd eglwysig, a chau y tafarndai ar ddydd yr Arglwydd.* Ein hunig amcan yn nodi y ffeithiau uchod, ydyw dwyn ar gof, i'r cyfryw a ddichon fod yn cael eu blino gan amheuon parthed llwyddiant yr ymdrech i sicrhau "Dadgyssylltiad yr Eglwys yn Nghymru," fod, trwy ymroddiad dyfalbarhaol ein cynnrychiolwyr egwyddorol, diwygiadau ag oedd yn ymddangos llawn mor annhebyg â'r un dan sylw er ys hanner cant neu driugain mlynedd yn ol, wedi eu dwyn oddiamgylch yn llwyddiannus. Ac er nad ydyw yr ysgrifenydd yn broffwyd, na mab i broffwyd, etto ni phetrusa ddewinio, cyn y gwelir cynnifer a hyny o flynyddoedd drachefn wedi treiglo ymaith, y bydd y ddeddf annghyfiawn bresenol wedi tynu ei thraed ati i'r gwely a marw, a'r llythyren goch o "Eglwys Rydd" mewn gwlad rydd wedi ei hychwanegu at hanesiaeth Prydain Fawr. Cafwyd addefiad gan rai o'r siaradwyr yn y "Gynghorfa Eglwysig" a gynnaliwyd yn Abertawe mis Hydref, 1879, nad oedd yr eglwyswyr, wedi y cyfan, yn rhifo dros *un* o bob saith, neu 14 y cant o'r bobl-

ogaeth, a bod braidd yr oll o'r lleill yn Ymneillduwyr proffesedig, neu yn bleidwyr Ymneillduaeth. Mae yn amlwg, gan hyny, fod Ymneillduaeth wedi lledu ei dylanwad ar bob llaw, gan ddyfnhau ei hegwyddorion yn meddyliau a serch y boblogaeth, a hyny, cofier, heb gymhorth arianol o un cyfeiriad, ond o haelfrydedd ei phleidwyr.

Mae llwyddiant yr ymgyrch hon, yn dibynu i raddau mawr, ar fod Cymru Ymneillduol yn effro i'w dyledswyddau proffesedig, gan ofalu fod ei chynnrychiolwyr yn ddynion sydd â'u calon yn llosgi dros ein hiawnderau, ac yn benderfynol o ymladd ein rhyddid hyd fuddugoliaeth. "Yn ddiweddaf, frodyr, ba bethau bynag sydd wir, pa bethau bynag sydd onest, pa bethau bynag sydd gyfiawn, pa bethau bynag sydd bur, pa bethau bynag sydd hawddgar, pa bethau bynag sydd gymmeradwy, od oes un rhinwedd, ac od oes dim clod; meddyliwch am y pethau hyn." (Phil. iv. 8).

## TRAETHAWD V.

---

### OFFEIRIAID—PWY YDYNT?

MAE dosparth o weinidogion eglwysig yn ein gwlad na charant gael eu hadnabod na'u cyfarch ond wrth yr urdd-enw uchod. Hònant iddynt eu hunain uwchafiaeth ar eu cyd-ddynion mewn pethau cyssegredig, gan geisio eu darbwyllo i gredu eu bod hwy yn dal agosach cymundeb â'r Arglwydd na neb arall, ac yn meddu hawl i wasanaeth na feiddia neb arall ymwneyd ag ef heb osod eu hunain yn agored i anfoddlonrwydd y Goruchaf. Ein bwriad yn yr ysgrif hon ydyw gwneyd ymchwiliad brysiog i'r mater uchod—edrych i'r Llyfr Dwyfol a oes sail i'r fath ymhoniad ag a wneir gan y dosparth hwn. Pan geir dynion yn ymyraeth a phethau mor gyssegredig—yn sefyll rhwng y pechadur a'i Dduw, a thrwy hyny beryglu ei iachawdwriaeth, dylai y rhai sydd yn credu ac yn proffesu pethau gwahanol ac amgenach, roddi llafar i'w barn, er dynoethi eu twyll, a dwyn eu cyfeiliornadau i oleuni dydd. Ni ddylid cymmeryd eu gair hwy yn dystiolaeth derfynol ar y mater heb ymofyn pa beth a ddywed yr Ysgrythyr. Hon yw ein safon i brofi yr ysbrydion ai o Dduw y maent.

I. Ymofynwn pwy sydd a hawl ganddynt i'r teitl o "offeiriaid" dan yr oruchwyliaeth bresenol.

Mae y term "offeiriad" yn un o'r geiriau mwyaf cyffredin yn y Beibl; dygwydda tua deg-ar-hugain o weithiau yn y Testament Newydd, a llawer mynychach yn yr Hen Destament. Nid ydym yn bwriadu sôn am yr offeiriaid gau a phaganaidd y crybwyllir am danynt yn y Gyfrol Ddwyfol; ond cyfyngwn ein sylwadau i'r rhai a neillduwyd i'r swydd gan Dduw. Rhifedi y dosparthiadau hyn ydyw y rhai canlynol:—

(1). *Yr offeiriaid Iuddewig a wasanaethent yn y cyssegr dan y gyfraith.* Gan fod offrymu ac aberthu mewn arferiad yn flaenorol i ffurfiad y genedl Iuddewig yn llywodraeth annibynol, yr oedd y drychfeddwl o offeiriaid yn bodoli yn flaenorol i osodiad Aaron a'i feibion yn y swydd, oblegyd y mae offrymu ac aberthu yn dermau perthynasol, ac yn tybied offeiriaid. Mae y drychfeddwl can hyned â gwaith Abel, a Cain, Noah ac Abraham, &c., yn aberthu i'r Arglwydd. Mae y teitl yn adnabyddus mor foreu a Melchisedec, brenin Salem; er hyny, nid yw y swydd offeiriadol yn dyfod i oleuni clir a diamheuol hyd sefydliad teulu Aaron o lwyth Lefi ynddi yn mysg meibion Israel. Yr oedd hon yn swydd nad oedd hawl gan neb pwy bynag i ymyraeth a hi oddieithr fod Duw mewn modd neillduol a chyhoeddus yn eu dewis iddi. At hon y cyfeiria yr awdwr at yr Hebreaid pan yn dweyd, "Ac nid yw neb yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw megys Aaron." (Heb. v. 4). Cafodd Aaron a'i feibion eu galw a'u neillduo i'r swydd hon gan yr Arglwydd.

(Gwel Exod. xxviii). Cawsant eu gwisgo, eu heneinio, a'u cyssegru iddi yn ngwydd holl gynnulleidfa meibion Israel er dangos iddynt nad oedd hawl gan neb arall i ymyraeth a hi. Cawn ennghreifftiau o farn Duw yn disgyn ar bersonau o herwydd ymyraeth a'r swydd hon a grwgnach yn erbyn y swyddogion. Hyn oedd trosedd mawr Corah, Dathan, ac Abiram yn ngwersyll Israel, am yr hyn y parodd yr Arglwydd i'r ddaear agor ei safn i'w llyncu yn fyw i fòl uffern. Cafwyd prawf diymwad y pryd hwnw oddiwrth flodeuad gwialen Aaron yn mhabell y dystiolaeth mai efe a'i feibion oedd dewisedigion yr Arglwydd iddi. (Gwel Num, xvi., xvii). Hefyd, o herwydd ymyraeth â gwaith yr offeiriad y cafodd Uzziah, brenin Judah, ei daro a gwahanglwyf anfeddyginiaethol yn ei dalcen, fel y gorfu iddo roddi ei freniniaeth i fyny, ac ymneillduo o fysg dynion dros y gweddill o'i oes. (2 Chron. xxvi). Crybwyllir yr enghreifftiau hyn er dangos bod y fath gyssegredigrwydd yn perthyn i'r swydd offeiriadol, fel yr oedd pwy bynag fuasai yn ymyryd a hi yn annibynol ar osodiad dwyfol, yn gosod ei hun yn agored i anfoddlonrwydd y Goruchaf.

(2). *Melchisedec*. Gan fod Melchisedec a'r Arglwydd Iesu yn dal perthynas mor agos a'u gilydd, traethwn ychydig ar y ddau dan yr un penawd. Ychydig o hanes y dyn rhyfedd hwn sydd ar gael, yr hyn yn ddiau, sydd yn cyfrif am y lluaws barnau a fodolant yn ei gylch, amryw o ba rai sydd yn ddychymmygion disail. Nis gallwn wneyd yn well yn bresenol na chadw o fewn terfynau y Beibl, ac ymlwybro yn araf yn ngoleuni yr ychydig wybodaeth sydd genym am dano, yn hwn.

Yr oedd Melchisedec yn frenin Salem ac yn offeiriad y

Duw Goruchaf. Daw i'r golwg yn sydyn am y tro cyntaf yn (Gen. xiv.), lle y dywedir iddo gyfarfod ag Abraham yn dychwelyd o ladd y breninoedd, ac iddo ei fendithio, a derbyn degwm ganddo o'r hyn oll a feddai. Profai hyn ei fod yn uwch nag ef, oblegyd "yr hwn sydd leiaf a fendithir gan ei well." Ceir yma olwg ar Abraham, yn cynnrychioli y llwyth ag oedd ar ol hyn i dderbyn degwm gan holl feibion Israel, yn teimlo fod rhywun mwy a rhagorach nag ef yn ei bresenoldeb, yr hwn oedd yn teilyngu degwm, hyd y nod gan yr offeiriaid. Sylwn yn mhellach ar yr hyn a awgrymir yn ei gylch gan yr awdwr at yr Hebreaid.

(1). *Ei neillduad i'w swydd yn annibynol ar berthynas naturiol.* Cyn cael derbyniad i'r swydd offeiriadol dan y trefniant Moesenaidd, buasai yn ofynol i ddyn brofi ei berthynas naturiol ag Aaron. Heb hyn, nid oedd a wnelai efe â hi o gwbl. Ond yr oedd Melchisedec yn eithriad i'r rheol hon. Nid oedd ei dad na'i fam, na neb o'i achau, yn perthyn o gwbl i'r llinach offeiriadol. Nid oedd iddo na blaenorydd nac olynydd yn y swydd Yr oedd yma gyfryngiad uniongyrchol goruwchnaturiol yn ei ddewisiad iddi yn annibynol ar unrhyw berthynas gnawdol. Yr oedd yn hyn yn gyffelyb i Fab Duw, oblegyd nid o'r llwyth offeiriadol yr hanodd Crist, ond o lwyth Judah. "Canys hysbys yw, mai o Judah y cododd ein Harglwydd ni; am yr hwn lwyth ni ddywedodd Moses ddim tuag at offeiriadaeth." (Heb. vii. 14). Mae y gosodiad uchod yn y ffurf nacâol, i osod allan mewn dull cryf y gwaharddiad i neb o lwyth arall ymaflyd yn y swydd; yr hyn sydd yn dangos fod ein Harglwydd ni yn perthyn i offeiriadaeth arall. Offeiriad oedd Ef yn ol urdd Melchisedec ac nid yn ol urdd Aaron.

(2). *Ei arosiad diddiwedd yn y swydd.* Yn ei gyssylltiad â'i *swydd* y dywedir ei fod "heb ddechreu dyddiau na diwedd einioes." Fel dyn yr oedd iddo bob un o'r ddau yn ddiau; ond nid fel dyn yn gymmaint y crybwyllir am dano yn yr hanes, ond yn y cymmeriad o offeiriad i'r Duw Goruchaf." Mae efe a'i swydd mewn undeb â'u gilydd yn y crybwylliad cyntaf a wneir am dano, ac felly y parha ynddi heb neb yn ei ddilyn. Mae yn hyn etto yn debyg i'r Arglwydd Iesu. Efe oedd y cyntaf a'r diweddaf o'r llwyth y perthynai iddo i wasanaethu fel offeiriad mawr ar dŷ Dduw; a chan ei fod i aros ynddi byth, diangenrhaid i neb arall geisio ymwthio iddi. Nid yw ymyriad y rhai a elwir yn offeiriaid Pabaidd. &c., a'r swydd hon, yn ddim amgen na chyssegr-ysbeiliad, ac ymgais beiddgarol i ddifreintio Mab Duw o'r teitl a ennillodd iddo ei hun wrth farw ar y groes.

(3). *Cyssylltiad yr offeiriadaeth a'r freniniaeth.* Yr oedd Melchisedec gyda bod yn offeiriad, yn frenin Salem. Nid oedd yr orsedd, a'r deyrnwialen yn perthyn o gwbl i lwyth Lefi; perthyn i Judah oedd y deyrnwialen, a chydrwng ei draed ef yr eisteddai y deddfwr; ond yn mherson Melchisedec, dyma frenin Salem ac offeiriad y Duw Goruchaf mewn undeb â'u gilydd. Mor gyflawn y llenwir y cysgod hwn gan yr Arglwydd Iesu. Gwrandawer ar y proffwyd Sechariah yn ei ddarlunio, "Wele y gwr a'i enw Blaguryn; o'i le hefyd y blagura, ac Efe a adeilada deml yr Arglwydd; ie, teml yr Arglwydd a adeilada Efe; ac Efe a ddwg y gogoniant, ac a eistedd, ac a lywodraetha ar ei frenin-fainc; a bydd yn Offeiriad hefyd ar ei frenin-fainc; a chynghor hedd a fydd rhyngddynt ill dau." (Pen. vi. 12, 13.)

Yr Arglwydd Iesu Grist ydyw y brenin sydd yn llywodraethu yn nghalonau y saint ar y ddaear, ac Efe hefyd ydyw yr Offeiriad mawr sydd yn dadleu eu bywyd ger bron y Tad yn y nef. Dyma'r goron a'r feitr, yr orsedd a'r allor, y thuser aur a'r deyrnwialen hedd yn meddiant y doeth o galon a'r galluog o nerth. Mae Iesu yn llenwi y darlun hyd yr ymylon, a llawer iawn mwy.

(3). *Adnabyddir y saint yn gyffredinol wrth yr enw hwn.* Nid oes cymmaint ag ennghraifft fod yr apostolion yn cael eu hadnabod wrth y teitl hwn ar gyfrif eu swydd, ac ar wahan oddiwrth ereill; offeiriaid ydynt hwy yn yr un ystyr a phawb ereill o blant yr Arglwydd. Mae Paul wrth ysgrifenu at y saint yn Ephesus, yn rhoddi rhestr o'r swyddogion osododd Crist yn yr eglwys. "Efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn broffwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon." (Pen. iv. 11). Nid oes yma grybwylliad am "offeiriad," ac nis gellir meddwl fod un o'r enwau uchod yn gyfystyr a'r term hwnw. Os oedd "offeiriaid" yn gwneyd i fyny rai o swyddogion yr eglwys foreuol, nis gellir cyfrif am waith yr apostol yn eu gadael allan yn y fan hyn. Rhydd yr apostol amryw gyfarwyddiadau i Timotheüs a Titus mewn perthynas i'r cymhwysderau angenrheidiol i gyflawni swydd "esgob" a "diacon," tra nad oes y cyfeiriad lleiaf at y swydd offeiriadol na chymhwysder iddi. Yr unig reswm ellir ei roddi am hyn ydyw, na fwriadwyd iddi fodoli dan oruchwyliaeth yr efengyl. Pan fyddai yr apostolion yn cyfarch yr eglwysi yr ysgrifenent atynt, galwant eu hunain yn "frodyr," yn "weision," yn "wasanaethwyr," yn "apostolion," yn "genadon," &c., ond nid un amser yn

"offeiriaid." Mae dystawrwydd y gweinidogion crefyddol cyntaf o ethryb y swydd hon, yn brawf diymwad, mai dynion llygredig, oddiar uchder eu ffroen a balchder eu calon, ddarfu ei dyfeisio mewn oesau diweddarach er mwyn budrelw; a lle bynag y gwelir yr ymyrwyr hyn yn llywodraethu ar gydwybodau eu cyd-ddynion, yno y bydd cartref creulonder a chynnullfan gormes a thrais. Nid rhyfedd pe buasai trugaredd yr Un mawr wedi blino, ei amynedd wedi treulio allan, a'i ddigofaint barnol yn cael ei dywallt ar bwy bynag sydd yn lladrata oddiar ei anwyl Fab yr hyn nid yw deilwng i neb ond Efe. Gelwir Cristionogion mewn amryw fanau yn "offeiriaid," ac mewn lleoedd ereill awgrymir yr un peth oddiwrth y gwasanaeth a briodolir iddynt. (Gwel Heb. xiii. 15; 1 Pedr ii. 5—9; Dat. i. 6; v. 10; xx. 6). Dysgir yn y cyfeiriadau hyn fod pob credadyn yn dyfod i hawl o'r rhagorfraint hon yn rhinwedd ei berthynas â Christ yr offeiriad mawr.

II. Sylwn yn fyr ar y gwasanaeth sydd yn dyfod i ran y saint fel offeiriaid.

Nid yw pobl yr Arglwydd yn cael eu hadnabod wrth unrhyw enw nad yw y meddylddrych o wasanaeth yn cael ei gyfleu ynddo, megys "milwyr," "rhedegwyr," "adeiladwyr," &c. Dengys y termau hyn wasanaethgarwch crefyddwyr iddynt eu hunain, i'w cyd-ddynion, ac i'w Duw. Fel offeiriaid hefyd, y mae ganddynt eu dyledswyddau cyssegredig i'w cyflawni.

(1). *Maent i aberthu.* Cyn i bechod wneyd ei ymddangosiad yn y byd, yr oedd dyn yn gallu dal cymundeb digyfrwng â Duw; yr oedd ei natur bur, a'i gymmeriad

santaidd yn ei alluogi i edrych yn wyneb ei Greawdwr gyda chydwybod ddirwystr. Ond nid cynt y pechodd nag yr oedd yn rhaid iddo wrth aberth pan yn agosau at Dduw i gyflwyno gwasanaeth iddo. Nid oedd goruchwyliaeth yr aberthau yn darfod pan fu Crist farw, newid eu natur wnaeth Ef ac nid eu diddymu. Yn lle dwyn anifeiliaid fyrdd i gyssylltiad â chyllell lem yr offeiriad Iuddewig, rhaid i bob Cristion offeiriadu arno ei hun, gan "roddi ei gorff" ei hun "yn aberth byw, santaidd, a chymmeradwy gan Dduw." Mae Crist, yr "aberth difai," wedi rhoddi terfyn bythol ar aberthau mawrion y gyfraith; mae yr holl wasanaeth mwyach i fod yn "rhesymol wasanaeth," yn llawn bywyd ac o natur ysbrydol. Mae y drafferth i chwilio'r meusydd am y glanaf a'r brasaf o'r anifeiliaid wedi ei arbed yn y pridwerth a gafwyd yn "Oen Duw yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd."

"Yn lle eidionau'n llu dinerth,—ac wyn
Yn gannoedd annghydwerth;
Dyma ben ar bob aberth,
A dyma waed mwy ei werth."

Yr oll a ofynir yn awr ydyw dibyniad trylwyr arno, ac ymgyssegriad hollol, gyrff ac eneidiau, i'w wasanaeth. Mae yr ymadrodd "roddi o honoch eich cyrff yn aberth byw," yn cymmeryd i fewn yr oll o'r dyn, yn bersonol a pherthynasol; mae ei eiddo, ei amser, ei lafur, a'i alluoedd i fod dan dreth i achos y Meistr mawr. Bwriada yr Arglwydd gyrhaedd ei amcanion gogoneddus yn yr efengyl trwy offerynau a moddion neillduol, yr offerynau yw ei blant, a'r moddion yw y gwasanaeth a gyflawnir ganddynt. Os am weled pechod yn cilio, annuwioldeb yn diflanu, santeiddrwydd yn ffynu, a Mab y Brenin yn cael ei

ddyrchafu, rhaid galw ar ein henaid, a'r cwbl sydd ynom, i faes yr ymdrechfa.

(2). *Hwy sydd i ofalu am santeiddrwydd ty Dduw.* Rhan o ddyledswydd yr offeiriaid gynt oedd trefnu y cyssegr gyda'i holl ddodrefn, cadw tân i losgi yn wastadol ar allor y poeth offrwm, chwilio a glanhau y rhai gwahanglwyfus, trwsio a goleuo y lampau, yn nghyd â gweinyddu mewn amryw buredigaethau. Mae dyledswyddau y saint yn gyffelyb, ond mewn ystyr uwch a mwy ysbrydol; hwy sydd i ofalu fod pob sothach ac anmhuredd i gael ei garthu allan o'r eglwys, na byddo deddfau y tŷ yn cael eu hanwybyddu, iawn weinyddiad yr ordinhadau, dwyn yr afreolus i gyfrif, nerthu'r gweiniaid, a chyssuro'r ffyddloniaid. Dylai fod eu cariad at eu gilydd, ac at Dduw, fel tân dwyfol yn cynhesu eu calonau, a pheri iddynt ymdoddi i'w gilydd, nes eu gwneyd yn wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd. Pe ceid mwy o hyn yn yr eglwysi—pob aelod i ystyried ei rwymedigaeth, adnabod ei le, a gwneyd ei egni dros ogoniant yr achos yn y cylch y byddo yn troi ynddo, diau y gwelid chwaneg o bechaduriaid yn gadael eu ffyrdd drygionus ac yn dychwelyd at yr Arglwydd. Lleferydd ein calon fyddo, "Er mwyn Seion ni thawaf, ac er mwyn Jerusalem ni ostegaf, hyd onid elo ei chyfiawnder hi allan fel dysgleirdeb, a'i hiachawdwriaeth hi fel lamp yn llosgi." (Esa. lxii. 1).

(3). *Maent i offrymu gweddïau.* Mae hon yn ddyledswydd a braint sydd yn perthyn, nid i ryw bersonau neillduol, ond i bob Cristion yn ddiwahaniaeth. Nid yw ein gweddïau i fod yn gyfeiriedig at neb llai nâ Duw, na thrwy neb llai nâ'r Cyfryngwr sydd rhwng Duw a dynion,

"y dyn Crist Iesu.' Mae y syniad fod Pabau yr ochr hyn, a seintiau ymadawedig yr ochr draw, yn cyfryngu rhwng y pechadur a'i Dduw, yn anysgrythyrol a gwrthun ; digon i'r naill ydyw dwyn eu baich eu hun, ac i'r lleill ydyw canmol a diolch am y drefn a'u dygodd i'r gogoniant. Mae pob Cristion yn meddu hawl i fyned i lygad y ffynnon ei hun i dynu dwfr y bywyd i'w enaid ; gall, yn rhinwedd ei berthynas a'i undeb â'r offeiriad mawr sydd ar dŷ Dduw, fyned yn hyderus a diofn i mewn i'r cyssegr ei hun i ddadleu ei fywyd ar sail yr aberth drud. Meddwn hefyd yr anrhydedd o ddwyn achos ein cyd-ddynion at orseddfainc y gras. Gorchymmyn yr Arglwydd Iesu i ni ydyw gweddïo dros ein gelynion, a darfu iddo Ef ei hun roddi y gorchymmyn mewn gweithrediad wrth fyw ac wrth farw. Un o'i weddïau olaf ar y groes oedd dros ei elynion, ac erys y weddi hono mewn grym tra fyddo Cristion yn y byd a phechadur heb ei achub. Mae yn myned trwy argraffiad newydd yn mhob calon a ddygir i garu'r Gwr a'i hoffrymodd hi gyntaf. Gall y tad crefyddol gymmeryd achos ei fachgen drwg, a'i gymmydog annuwiol at orsedd gras, a'r gweinidog yr un modd ei gynnulleidfa. Bydded mwy o daerineb mewn gweddi am y dylanwad oddi fry yn nodweddu eglwysi'r saint y dyddiau hyn.

## TRAETHAWD VI.

# ATHROFA YR AELWYD.

[Nodiad.—Teg ydyw hysbysu mai eiddo Mrs. W. ydyw yr ysgrif ddilynol. Darparodd hi ar gyfer cystadleuaeth (cyfyngedig i ferched,) Cyfarfod Llenyddol y Garn, a gynnaliwyd Llungwyn, 1879; ond yn rhywle ar y ffordd rhwng llythyrdy y Garn a dwylaw y beirniad yn Rhostryfan, aeth ar goll, ac ni chlywyd gair mwy o'i helynt. Yr oedd ei darparu yn bleser nid ychydig iddi ar y pryd, ac ysgrifenodd hi drosodd ddwywaith neu dair, yr hyn sydd yn cyfrif am ei chadwraeth. Gan y credwn fod ynddi rai sylwadau allant fod o les i'r cylch y bwriadwyd hwy, ond eu gweithredu; yr ydym, gyda ei chaniatad hi, yn eu dodi yn y gyfrol.]

"Y PLENTYN yw tad y dyn," a'r gymdeithas deuluaidd ydyw mam holl gymdeithasau y byd. Yn ei chryd hi y siglir holl genedloedd y ddaear, ac y ceir defnyddiau er ffurfio pob cymdeithas arall a enwir yn y byd hwn.

Gall "Athrofa yr Aelwyd" olrhain ei dyddiad yn mhellach yn ol nâ'r ysgolion dyddiol a Sabbothol, a phob sefydliad arall o gyffelyb natur a dyben. Yr oedd hon mewn bri yn amser Sarah, mam Lemuel, Hannah, Naomi, Jochebed, Lois, Eunice, &c. Y mae hon o ddwyfol ordeiniad.

Credwn mai y fam ydyw pen athrawes yr "Athrofa" hon, ac nad yw y tad ond cynnorthwywr, a'r gweision a'r morwynion ond is-gynnorthwywyr; tra bydd y plentyn yn sugno maeth ei gynnaliaeth o'i natur hi, bydd hi yn alluog i roddi argraff ar ei feddwl tyner a dadblygedig, a chyn y daw o fewn cylch dysgyblaeth y tad ac ereill, bydd ei dylanwad hi i raddau mawr wedi gwneyd ei le mewn modd arosol ar ei feddwl.

Mae Athrofeydd yr Aelwyd yn lluosocach yn ein byd nâ'r holl sefydliadau addysgol ereill gyda'u gilydd, a thrwy hyny yn gwneyd mwy o'u hôl ar gymdeithas er gwell neu er gwaeth. Gwahaniaethir yn fawr yn y dull o'u cario yn mlaen; tra y ceir y nifer luosocaf yn trigo mewn bwthynod, ceir ereill yn y palasau gwych ac addurnol,—rhai yn Nghymru fawr ei breintiau, tra ereill yn ngwledydd paganaidd a choel grefyddol y ddaear.

Mae gan y naill rieni fwy o fanteision nâ'r llall mewn perthynas i foddion addysg; bydd un yn wybodus a'r llall yn anwybodus; y naill yn gyfoethog a'r llall yn dlawd, &c. Ond y cyssur yw, na wneir cam â neb yn ei fater,—bydd pob un yn gyfrifol i'w Dduw yn ol y manteision a roddwyd iddo gan ragluniaeth.

Yn yr Athrofa hon y derbynia y plentyn y wers gyntaf; ac O! mor bwysig ydyw pa fath un fydd hono. Os darllen y Beibl a gweddïo bydd y fam, dyna wers gyntaf y plentyn. Ysgrifenai Paul at ei fab ieuanc yn y ffydd gan ei gynghori, "Eithr aros di yn y pethau a ddysgaist, ac a ymddiriedwyd i ti am danynt, gan wybod gan bwy y dysgaist. Ac i ti er yn fachgen wybod yr Ysgrythyr Lân," &c. Diamheu fod

yr apostol yn yr enghraifft uchod yn cyfeirio at yr addysg a dderbyniodd Timotheus gan ei nain a'i fam, yn gystal ag at y gwersi a gyfranodd ef ei hun iddo. Os galw ar enw Duw yn ofer, dweyd anwiredd, a chweryla â'r cymmydogion y bydd y fam, ceir y rhai bychain fydd dan ei gofal yn dysgu yr un arferion, heb iddi hi golli mynyd o'i hamser i wneyd hyny, gan mor naturiol yw i'r meddwl ieuanc ei hefelychu yn mhob peth a wna, a hyny yn ddiau oddiar y dybiaeth ei bod hi yn gweithredu yn iawn.

Rhoddwn yma ychydig o awgrymau, y rhai a ystyriwn yn bwysig i rieni er iawn-fagwraeth eu plant.

(1.) *Er bod yn llwyddiannus, angenrheidiol ydyw dechreu yn foreu.* Nid pan fyddo y plant yn ddeg, deuddeg, neu bymtheg oed y dylid dweyd wrthynt pa beth ydyw A, B, C, yn llwybr rhinwedd a moesoldeb. Mae lle i gredu fod llawer tad a mam cyn yn awr wedi cael achos i alaru o herwydd esgeuluso'r tymhor priodol i lywodraethu eu plant. Mae y plentyn wrth gychwyn i'w daith yn gyffelyb i'r saeth ar y bwa. "Canys fel y mae y saethau yn llaw y cadarn; felly y mae plant ieuenctyd." Pa fodd y mae y saethau yn llaw y cadarn? Gellir dweyd eu bod o dan ei lywodraeth; gall eu troi i'r cyfeiriad y myno, ac y mae eu cerddediad trwy yr awyr yn ymddibynu ar y pwynt a rydd iddynt yn y cychwyniad. Bydd modfedd o wyrni yn y cychwyniad yn debyg o effeithio ugeiniau o latheni o gamder cyn y cyrhaedda ben y daith. Mae cychwyn plant i'r byd yn gyffelyb. Oddieithr i rywbeth neillduol gymmeryd lle yn ei hanes. byddant yn mhen ychydig flynyddoedd wedi gwneyd cynnydd amlwg yn y cyfeiriad a gawsant yn nghychwyniad eu gyrfa.

Trefnwyd y rhan foreuol o oes dyn iddo dderbyn addysg ; nid yw yn alluog i ddilyn unrhyw alwedigaeth yn y tymhor hwn o'i fywyd, ond gellir dysgu llawer gwers iddo y pryd hwn mewn amser byr ag y bydd yn anhawdd ei dysgu iddo byth ar ol hyn. Ni raid i feddwl plentyn gael ei fwydo mewn drygioni mewn trefn iddo werthfawrogi daioni, mwy nag y rhaid i ddyn yfed dognedd o wenwyn mewn trefn i fwynhau ymborth iachus, neu gael ei drybaeddu yn y llaid i'r dyben i werthfawrogi glanweithdra. Tra mae y cwyr yn feddal y mae gosod argraff arno ; tra y mae y pren yn ieuanc y mae ei blygu ; mebyd ydyw yr amser priodol i ddofi a llywodraethu pob creadur ; a thra y mae y dyn yn blentyn y cynghorir ni i'w hyfforddi yn mhen ei ffordd. Dyma yr adeg y gall yr hyfforddwr roddi y cyfeiriad a ewyllysio iddo, gan hyny, gofaler am ddechreu yn brydlon.

(2.) *Gofaler am ddysgu gwirionedd iddynt.* Peth pwysig iawn i rieni ydyw peidio dadwneyd yn eu gweithredoedd yr hyn a gyflawnant mewn geiriau. Nid ydym heb ofni fod llawer o blant wedi cael cam mawr yn hyn, trwy fod rhieni yn addaw eu gwobrwyo am ufudd-dod a gweithredoedd da, ac yn bygwth eu ceryddu am ymddygiadau gwahanol, a byth feallai yn cario y naill na'r llall i weithrediad. Dylent fod yn ofalus i addaw yn iawn, a bod yn sicr o gyflawni yr un modd. Dylai y naill rieni ymgadw rhag bod yn rhwystr i'r llall gario allan ei ddysgyblaeth ar y plant. Nid anfynych y gwelwyd plentyn yn ffoi am noddfa at y tad pan fyddai y fam yn ymgymmeryd â'r gwaith o ddysgyblu, neu i'r gwrthwyneb. Yn hytrach nâ gwneyd hyny, dylent gydsynio yn ngweinyddiad y cerydd, ac annghymmeradwyo ymddygiad y bychan yn nghlywed-

igaeth eu gilydd. Tueddai hyn yn fwy na dim arall i roddi atalfa ar ei lwybr.

(3). *Egwyddor arall a gymhellwn ydyw gonestrwydd.* Bydd dangos i'r plant y pwysigrwydd o fod yn onest gyda phethau bychain gartref yn gymhorth iddynt gadw eu dwylaw yn glir oddiwrth bethau mwy mewn blynyddoedd dyfodol.

Awgrymwn y priodoldeb i rieni ymatal rhag cloi pethau oddiwrth eu plant. Gwell yn ol ein barn ni fyddai dangos y drwg yn yr egwyddor y hono nâ chloi pob peth rhagddynt. Gall pob lleidr ymddangos yn onest hyd nes y caiff gyfleusdra i ddyfod o hyd i'r hyn fyddo dan gudd.

Mae y blwch bychan hwnw a elwir "Cadw mi gei," (*money box,*) yn ddodrefnyn buddiol iawn er dysgu cynnildeb a darbodaeth i'r plant; ond yn hytrach nâ'i gloi rhagddynt, gadawer ef yn y golwg, a dysger iddynt y pwysigrwydd o beidio cymmeryd ceiniog o hono heb eu caniatad hwy. Mae yr arferiad o guddio a chloi pethau rhag y plant wedi bod yn achlysur droion cyn hyn i ddeffro math o gywreinrwydd anonest ynddynt, a chynnyrchu ynddynt ffalsder a chyfrwysdra i geisio dyfod o hyd i'r peth a waherddid, a'r tueddiadau hyn wrth gael eu meithrin, yn cynnyddu i'r fath raddau nes dwyn eu perchenog i ofid a gwarth. Rhodder hwy ar eu gocheliad rhag arferyd unrhyw fath o dwyll tuag at eu cyfoedion. Bachgen bychan y dydd o'r blaen, wedi cyrhaedd gartref o'r ysgol, a ddywedai wrth ei fam, "Edrychwch mam, y fath fargen ragorol wnaethum i heddyw; cefais y gyllell hon gan W. B. am dair marblen." A'r fam yn tueddu i ymffrostio yn ei lwyddiant, a ddywedodd yn ei

glyw wrth gyfeilles oedd yn ymyl, "Nid oes ofal genyf nad aiff John trwy y byd yn iawn; un rhagorol ydyw am fargen gyda'i gyfoedion." Erbyn deall pethau, yr oedd John yn hynach o flwyddi na W. B., ac wedi dwyn y gyllell oddiarno trwy drais. Yn lle ei ganmol yn ei wyneb, ei dyledswydd hi oedd gwneyd ymholiad i'r mater, ac wedi darganfod y twyll, ei orfodi i ddychwelyd yr eiddo, a dangos iddo fod eisiau gonestrwydd i fyned trwy y byd yn iawn; ac mai hyny ydyw gorchymmyn Duw.

(4). *Ymdreched rhieni roddi addysg i'w plant.* Nid oes prinder ar fanteision addysg o bob math y dyddiau hyn. Mae ysgolion addysg elfenol yn mhob plwyf, a'r Ysgol Sabbothol yn mhob pentref, a chan fod hon yn ysgol râd, yn ysgol i bawb, ac yn ysgol i enaid, nid oes esgusawd gan neb dros beidio anfon eu plant iddi. Mae rhieni i'w canmol am wneyd eu goreu yn ol eu hamgylchiadau i roddi galwedigaethau gonest yn nwylaw eu plant er eu cychwyn yn briodol yn ngyrfa bywyd, a'r addysg elfenol oreu er eu moesoldeb. Ond credwn mai addysg grefyddol ddylai gael y lle blaenaf yn "Athrofa" yr aelwyd. "Eithr y ddoethineb sydd oddiuchod, yn gyntaf pur ydyw, wedi hyny heddychlawn, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, diduedd a diragrith." Fel y mae yr enaid yn rhagori ar y corff, a thragywyddoldeb yn bwysicach nag amser, felly y mae gwybodaeth Ysgrythyrol yn rhagorach a phwysicach na'r un wybodaeth arall; ac y mae hon mor gyrhaeddadwy i'r tlawd ag ydyw i'r cyfoethog. Dysga'r wybodaeth hon iddynt arfer y byd heb ei gamarfer, a defnyddio ei roddion yn is-wasanaethgar i ddybenion uwch gan eu dwyn i ystyried mai amser yn unig ydyw tymhor

eu parhad. Fel y dywedodd Syr Henry Wotton :—

"Fame, honour, beauty, state, train, blood and birth,
Are but the fading blossoms of the earth;
Welcome pure thoughts, welcome ye silent groves,
These guests, these courts my soul most dearly loves."

Mae gan y fam fwy o fantais i gyfranu addysg grefyddol i'w phlant nâ neb arall, ac ni ddylai ar un cyfrif eu gadael heb yr addysg hon nes y byddont yn alluog i fyned i'r ysgolion dyddiol a Sabbothol, oblegyd y mae yn ei gallu hi i ddysgu llawer iddynt yn flaenorol i hyny. Ychydig mewn cydmariaeth fedr yr athrawon a'r athrawesau ddysgu iddynt yn yr ysgolion oni chynnorthwyir hwynt gan y rhieni gartref. Fel y canlyn y dywedodd George Herbert :—"One good mother is worth a hundred schoolmasters;" ac wrth ddarllen hanesion a chofiantau, ategir y frawddeg uchod gan luaws o enghreifftiau. Ceir y mwyafrif o enwogion pob oes yn priodoli eu llwyddiant i addysgiaeth a dylanwad eu mamau. "Wele pob diarhebydd a ddiarheba am danat, gan ddywedyd, fel y fam y mae y ferch."

Dysger hwynt fod Duw yn bod, a bod rhwymau ar bawb i'w ofni a'i wasanaethu—fod yn rhaid i bawb feirw, a sefyll ger bron gorseddfainc barn i dderbyn yn ol eu gweithredoedd yn y byd hwn. "A hysbysa hwynt i'th blant; a chrybwyll am danynt pan eisteddych yn dy dŷ, a phan gerddych ar y ffordd, a phan orweddych i lawr, a phan gyfodych i fyny."

(5). *Dysger iddynt y pwysigrwydd o lywodraethu eu tymherau.* Nid anfynych y gwelwyd rhieni yn ceryddu eu plant am fod mewn tymher ddrwg tra y byddent hwy eu hunain o dan lywodraeth yr un nwyd pan yn gweinyddu y

ddysgyblaeth. Gweinidog unwaith a geryddai ei blentyn mewn tymher wyllt a chreulawn. Pan ofynwyd iddo, gan na ddaethai i'r ty ar y pryd, beth oedd yn bod, atebai mai curo y drwg allan o'r plentyn yr oedd, a bod y drwg hwnw wedi myned i'w ysbryd ef ei hun. Os am i'r plentyn fod yn dirion a hynaws, dylid bod yn ofalus i arfer tiriondeb a hynawsedd tuag ato. Clywsom rai mamau yn dyweyd pan fyddai rhywun wedi troseddu yn erbyn yr un bychan, "Mi wna i dalu'r pwyth iddo pan gaf gyfle." Pwy all ddweyd faint o ysbryd dial y mae hi yn gynnyrchu yn mynwes ei phlentyn, a pha faint o les allai wneyd trwy ddangos yr angenrheidrwydd iddo faddeu? Nid oes amheuaeth fod gan rieni lawer i wneyd tuag at ddofi nwydau eu rhai bychain. Mae plant yn gwahaniaethu yn fawr yn eu tueddiadau a'u tymherau—rhai yn nwydwyllt, ac ereill yn arafaidd—y naill yn gynnil a'r llall yn wastraffus, &c. Mae y fam yn meddu mantais i'w hadnabod yn eu dadblygiadau cyntaf, ac yn meddu dylanwad i'w gogwyddo i'r cyfeiriad y barno hi yn oreu er eu lles.

(6.) *Dysger diwydrwydd iddynt.* "Llaw y diwyd a gyfoethoga." Y mae diwydrwydd yn feddyginiaeth i'r corff, yn fwyd a diod i'r meddwl, yn wenwyn i ladrad, yn gyfaill i onestrwydd, ac yn ffordd lwyddiannus i gyrhaedd cyfoeth anrhydedd a dedwyddwch. Ni charem awgrymu dim yn erbyn rhoddi teganau i blant; dichon eu bod mor angenrheidiol yn eu hamser, er difyru'r meddwl ieuanc a dadblygu ei alluoedd, â dim ellir roddi iddynt. Ond gofaler pa fath rai fydd y teganau.

Dywedir mai magnel bychan oedd y tegan cyntaf a roddwyd yn llaw Napoleon Bonaparte; a phwy a wyr nad hwnw

a droes ei feddwl tyner at holl greulonderau rhyfeloedd ei oes, trwy ba rai yr hynododd ei hun! Gall y bachgen gael tegan diniwed, yr hwn a rydd ogwydd i'w feddwl at yr angenrheidiol a'r sylweddol, a gall yr eneth ddysgu defnyddio ei nodwydd yn ei hawydd i addurno ei *doll* bren geiniog. Nid oes neb yn rhŷ uchel eu sefyllfa i arfer eu plant i ryw orchwylion defnyddiol. Trwy oddef eu plant i fod yn segur a gwastraffus y daeth ugeiniau o honynt i dlodi a gwarth, a rhai i ddiweddu eu hoes mewn tlotdai a charchardai.

(7.) *Dylai rhieni fod yn ofalus i attegu eu cynghorion â'u haddysgiadau ag esiamplau teilwng.* Sicr ydyw fod ymddygiadau penau teuluoedd yn gadael dyfnach argraff ar feddyliau aelodau yr aelwyd nâ'r cynghorion mwya effeithiol a allant roddi. Mae esiampl ddrwg yn rhwym o nychu, os nad lladd dylanwad pob addysg dda. Bydd dweyd yr hyn sydd dda wrth y plant, a gweithredu pethau hollol wahanol o flaen eu llygaid, yn gyfystyr â thynu i lawr ag un llaw yr hyn a adeiledir â'r llaw arall.

Gan fod plant yn gweithredu mwy wrth olwg eu llygaid nag ydynt wrth ddysgeidiaeth eu rheswm, y maent yn debycach o efelychu eu rhieni yn yr hyn a wnant nag yn yr hyn a ddywedant. Os yn awyddus i'r plant barchu dydd yr Arglwydd, gofaled rhieni am wneyd hyny eu hunain; os am iddynt fynychu moddion gras, yr Ysgol Sabbothol, ac ymddwyn yn weddus yn yr addoliad, gochelwch fod yn esgeulus o'r dyledswyddau hyn eich hunain. Rhoddwch eich cynghorion mewn gweithrediad trwy fyned gyda hwynt i dŷ yr Arglwydd, ac ond odid na chariant hwythau yr un arferion teilwng i lawr i'r genedlaeth nesaf.

(8). *Ni ddylai rhieni foddloni ar gynghorion ac esiamplau da heb weddïo am fendith Duw ar eu hymdrechion.* Nis gallant weddïo gydag unrhyw gyssondeb, heb iddynt hyfforddi eu plant yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd, ac ni bydd eu hymdrechion o fawr werth sylweddol heb i'r Arglwydd eu bendithio. Dysgai Moses a Joshua y genedl ieuanc yn ngeiriau Duw, a gweddïent hefyd am ei fendith ar eu hymdrechion. "Gwneler dy waith tuag at dy weision, a'th ogoniant tuag at eu plant hwy. A bydded prydferthwch yr Arglwydd ein Duw arnom ni; a threfna waith ein dwylaw ynom ni; ie, trefna waith ein dwylaw." Y rhieni sydd i blanu a dyfrhau yn y winllan deuluaidd, a Duw sydd i roddi y cynnydd. Wedi iddynt arfer pob moddion cyrhaeddadwy i hyfforddi eu plant yn mhen eu ffordd, galluogir hwynt gyda gwyneb agored a chydwybod ddirwystr i weddïo a dysgwyl wrth yr Arglwydd am fendith ar eu llafur. Bydd ystyriaeth fod gan Dduw hawl i'w galw i gyfrif, yn gymhorth i benau teuluoedd i wneyd iawn-hyfforddiant eu plant yn fater cydwybod. Diamheu mai un o orchwylion y dydd mawr diweddaf fydd arolygu gweithrediadau y sefydliadau hyn; gelwir yr athrawon, yr athrawesau, yr holl gynnorthwywyr a'r plant wyneb yn wyneb y dydd hwnw i gael eu cymmeradwyo neu eu condemnio am eu hymddygiadau.

Gwyn fyd y rhieni hyny all fenthyca geiriau yr Arglwydd Iesu am dano ei hun a'i eglwys, a dywedyd, "Wele ni a'r plant a roddaist i ni." Bydd cymmeradwyaeth Duw y dydd hwnw yn gyflawn daledigaeth am bob ymdrech a wneir er ei sicrhau. "Eithr yn gwneuthur daioni na ddiogwn; canys yn ei iawn bryd y medwn, oni ddiffygiwn." (Gal. vi. 9.)

# LIST OF SUBSCRIBERS.

MINISTERS.

Allen, Rev. R, Bryntroedgam
Aubrey, Rev. E, Tynewydd, Ogmore Valley

Benjamin, Rev. T. W. Tyndonen, Pwllheli

Cule, Rev. G. G. Ferndale, Glam

Davies, Rev. D, Bangor
Davies, Rev. D, Llysfaen, Glam
Davies, Rev. D. Dyfan, Taibach, Glam
Davies, Rev. B, (I.M.), Treorky, Glam
Davies, Rev. E. W, Llangyfelach, Glam. (3 copies)
Davies, Rev. T, (C.M.), Treorky
Davies, Rev. T, Aberaman
Davies, Rev. O, Caernarvon
Davies, Rev. S, Twyngwyn (2 copies)
Davies, Rev. W. E, Clydach Vale, Glam
Davies, Rev. T. P, Bethesda, Caernarvon

Edwards, Rev. I, Llanidloes
Edwards, Rev. J, Llanfachraeth, Anglesea
Edwards, Rev. S. P, Talywern
Edwards, Rev. W, Cefn Mawr, Denbighshire
Ellis, Rev. D. F, Aberystwith
Evans. Rev. B, D.D., Neath, Glam
Evans, Rev. B, Gadlys, Aberdare
Evans, Rev. G, Ton-Ystrad (6 copies)
Evans, Rev. G, Penydarren
Evans, Rev. F., D.D., (Ednyfed), Franklin, U. S. America (3 copies)
Evans, Rev. J. D, Caio, Carmarthen
Evans, Rev. J. R., Rhymney
Evans, Rev. T. J, (I.M.), Ystrad-Rhondda
Evans, Rev. R, Gower Road, Swansea
Evans, Rev. T. J, Treharris

Frimstone, Rev. T, Brynhyfryd, Swansea

George, Rev. Enos, Llanelly, Carm
Griffiths, Rev. D, (I.M.), Dolgelly
Griffiths, Rev. D, Dowlais
Griffiths, Rev. J, Llanelly, Carm
Griffiths, Rev. J. E, Skiwen
Griffiths, Rev. W. B, New Tredegar (2 copies)
Griffiths, Rev. J. T, Scotdale, U.S. America (2 copies)

Howells, Rev. J, Mountain Ash
Haddock, Rev. W, Pyle, Glam
Harris, Rev. W, Mill-street, Aberdare
Harris, Rev. H, Saint David's, Pem
Howells, Rev. T, (C.M.), Longland, Pyle, Glam
Humphreys, Rev. B, Manchester
Humphreys, Rev. R. M, Cardiff
Hughes, Rev. H, Briton Ferry (5 copies)
Hughes, Rev. H. W, (Arwystl), Penygraig, Rhondda
Hughes, Rev. J. D, Talysarn, Caernarvon
Hughes, Rev. R, Maesteg
Humphreys, Rev. T, Croesypark
Hughes, Rev. J, Nantymoel, Ogmore Valley
Humphreys, Rev. T, Cwmaman, Aberdare
Hughes, Rev. W, Llanelly, Carm

Johns, Rev. B. D, Pontypridd
Johns, Rev. R, Tondu, Glam
James, Rev. D, Llandilo, Carm
James, Rev. G, Bridgend, Glam
James, Rev. J. S, M.A., Llandudno
James, Rev. O. Waldo, Aberavon (12 copies)
Jones, Rev. D, Bridgend (12 copies)
Jones, Rev. D, Llwydcoed, Aberdare
Jones, Rev. B. H, Tafarnau Bach
Jones, Rev. E, (Iorweith Ddu), Berthlwyd
Jones, Rev. H, Penygraig
Jones, Rev. M. H, Ystrad, Rhondda
Jones, Rev. O, Llancarvan
Jones, Rev. J, Tynewydd, Ogmore Valley
Jones, Rev. J. M, Tonypandy, Glam
Jones, Rev. J. R, Llwynypia, Glam
Jones, Rev. J, Blaenllechau (2 copies)
Jones, Rev. J, Felinfoel
Jones, Rev. J, Portdinorwic (12 copies)
Jones, Rev. J. R, Houtsdale, U.S. America
Jones, Rev. R, Llanllyfni, Caernarvonshire
Jones, Rev. W. T, (C.M.), Bardsey Island
Jones, Rev. W, (C.M.), Ton-Ystrad
Jones, Rev. Seth, Treharris

Lewis, Rev. J, Swansea
Lewis, Rev. J. W, Trealaw (4 copies)

Meredith, Rev. Ioan, Blaenavon
Morgan, Rev. J. R., D.D , Llanelly, Carm
Morgans, Rev. W, Cardiff
Morris, Rev. J. A, Aberystwith
Morris, Rev. M. C., (I.M.), Ton-Ystrad
Morris, Rev. W, (Rhosynog), Treorky
Morgan, Rev. T, Dowlais
Morris, Rev. H. R, Ton-Ystrad

Owens, Rev. O, Porth, Glam

Parry, Rev. A. J, Swansea
Parrish, Rev. J, Bargoed, Mon
Phillips, Rev. H, Rhymney
Phillips, Rev. P, Maescanner, Carm
Powell, Rev. W. O, (C.M.), Llantwit, Pontypridd
Price. Rev. T., M.A., Ph.D., Aberdare
Price, Rev. W, Pensarn, Anglesea

Roberts, Rev. A, (C.M.), Ystrad-Rhondda
Roberts, Rev. D. E, Gilfach Goch (6 copies)
Roberts, Rev. E. D.D., Pontypridd
Roberts, Rev. J, Glynneath
Roberts, Rev. J, Rhydfelen
Roberts, Rev. R, Morriston (2 copies)
Roberts, Rev R, Pentre (3 copies)
Roberts, Rev. J. D, Tylorstown (2 copies)
Roberts, Rev. R. D, Llwynhendy
Roderick, Rev. W, Tongwynlas
Robinson, Rev. H, Swyddffynon
Robinson, Rev. J, Llansilin
Rowlands, Rev. J, D.D., Llanelly, Carm
Rowlands, Rev. J, H. Pontlliw

Salathiel, Rev. T ,Cefncoedycymmer

Thomas, Rev. W, Abercwmboye (3 copies)
Thomas, Rev. B, Ystrad-Rhondda
Thomas, Rev. D, Trimsaran
Thomas, Rev. G, Porth, Glam
Thomas, Rev. J, Pwllheli, Caernarvon
Thomas, Rev. J, Tongwynlas
Thomas, Rev. Isaac, Caersalem Newydd
Thomas, Rev. N, Cardiff
Thomas, Rev. R. Holyhead
Thomas, Rev. A, Abercanaid
Thomas, Rev. T, Denbigh
Thomas, Rev. W. G, Pentre-Ystrad

Thomas, Rev. W. M, Padiham, Lancashire

Walters, Rev. W, Sirhowy
Williams, Rev. D, Llangollen
Williams, Rev. H, Cernyw, Corwen
Williams, Rev. H, Nantyglo
Williams, Rev. G. J, Dowlais (2 copies)
Williams, Rev. J, Trefforest
Williams, Rev. J, Cardigan
Williams, Rev. J. J, Rhyl
Williams, Rev. G. Ll, Rhondda (3 copies)
Williams, Rev. R. E, Goginan
Williams, Rev. S. E, Brynmawr (3 copies)
Williams, Rev. T. E, Aberystwith
Williams, Rev. W, Mountain Ash
Williams, Rev. W. P, Landore, Swansea
Williams, Rev. W. T, Aberdare
Williams, Rev. T. F, Llandybie, Carm
Williams, Rev. T, (I.M.), Clydach Vale

PONTYPOOL COLLEGE.

Edwards, Rev. W, B.A., Principal
Thomas, Rev. D, B.A., Classical Tutor
Davies, Mr. Owen, student
Morris, Mr. Silas do
Hughes, Mr. J. O. do
Edwards, Mr. Virgil do
Thomas, Mr. John do
Bassett, Mr. W. C. do
Jones, Mr. W. R. do
Richards, Mr. T. do

LLANGOLLEN COLLEGE.

Jones, Rev. H, M.A., D.D. (deceased) (2 copies)
Davies, Rev. Prof. G, (2 copies)
Rees, Mr. Charles, student
Rees, Mr. M. T. do
Edwards, Mr. D. do
Williams, Mr. W. do
Griffiths, Mr. G. do
Hughes, Mr. J. H. do
Davies, Mr. W. do
Jones, Mr. Thos. do
James, Mr. Thos. do
James, Mr. Isaac do
Phillips, Mr. D. do
Hopkins, Mr. D. W. do
Bowen, M. S. G. do
Williams, J. D. do
Richards, Mr. Thos. do

HAVERFORDWEST COLLEGE.

James, Mr. B. student
Owen, Mr. R. do
Evans, Mr. L. do (2 copies)
Jones, Mr. D. do
Hopkins, Mr J. J, do
Williams, Mr. J. do
Young, Mr. W. do
John, Mr. W. J, Hulme, Cliff. College, Derbyshire

LAYMEN.

Alexander, Mr. W, Rhymney
Austin, Mr. W, Ystrad-Rhondda

Benjamin. Mr. R, Mardy, Glam
Bevan, Mr. H, Glynneath, Glam
Bevan, Mr. W, Blackwood, Mon (2 copies)
Beynon, Mr. A, Grocer, Pentre (2 copies)
Bowen, Mr. A, Llantrisant
Brimble, Mr. D, Grocer, Ystrad
Brown, Mr. J, Copper Works Road, Llanelly
Butler, Mr. John, Mardy, Glam

Coleman, Mr. D, Ystrad-Rhondda
Cule, Mr. A, Draper, &c., Pentre
Cule, Mr. E, Draper, &c., Treherbert (2 copies)

Davies, Mr. L, Napier Street, Mountain Ash
Davies, Mr. David, High Street, Mountain Ash
Davies, Mr. W. J, London Street, Mountain Ash
Daniel, Mr. D, (Alaw Myrddin,) Gilfach Goch (2 copies)
Daniel, Mr. Thos, Mardy, Glam
Daniel, Mr. T. D, J.P, Mayor of Aberavon (6 copies)
Davies, Mr. A, Mardy, Glam
Davies, Mr. A, Rhymney
Davies, Mr. D, Printer, Treorky (25 copies)
Davies, Mr. Edwin, 86, Cranworth Street, C. on M, Manchester
Davies, Mr. D, Glebeland, Merthyr (2 copies)
Davies, Mr. D, Cashier, Ton-Ystrad (2 copies)
Davies, Mr. D, Cwmavon
Davies, Mr. D, 13, Miskin Street, Treherbert
Davies, Mr. D, (Serenog,) Blaenycwm
Davies, Mr. E, Primrose Hill, Ystrad (2 copies)
Davies, Mr. E. H, Baglan Chambers, Pentre (4 copies)
Davies, Mr. Isaac, Mardy, Glam
Davies, Mr. H, Victoria Road, Ebbw Vale
Davies, Mr. James, Llwynypia
Davies, Mr. John, Bodlondeb House, Bangor
Davies, Dr. Idris, Ystrad, Rhondda (6 copies)

Davies, Mr. John, Butcher, Treforest
Davies, Mr. Jenkin, Draper, Ton-Ystrad
Davies, Mr. Thos, Mardy
Davies, Mr. Thos, Cwmavon
Davies, Mr. Thos, Windsor, Ton-Ystrad
Davies, Mr. Thos, Cwm Clydach
Davies, Mr. W, Pont-Rhondda Terrace
Davies, Mr. W, Bettws Bach, Criccieth
Davies, Mr. T, Sandy Bank, Ystrad-Rhondda
David, Mr. C, Llantwit, Near Pontypridd
Davies, Mr. Rees, Clydach Vale
Daily, Mr. Thomas, Ystrad-Rhondda

Edwards, Mr. T, Mountain Ash
Edwards, Mr. J, Glanymor Road, Llanelly
Edwards, Mr. J. P, Chemist, Kenffig Hill
Edwards, Mr. W, Oakfield Street, Cardiff
Edwards, Mr. S, Rhymni
Edmunds, Mr. D, Brookland House, Dinas Powis (2 copies)
Ellis, Mr. D, Treherbert
Ellis, Mr. S, Llanfaircaereinion (2 copies)
Evans, Mr. T, Llethrddu, Porth
Evans, Mr. Thos, Stag Hotel, Treorky
Evans, Mr. D, Bodringallt House, Ystrad
Evans, Mr. R, Pont-Henry
Evans, Mr. B. A, Draper, Ystrad
Evans, Mr. T. N, Grocer, Rhymney
Evans, Mr. D, Rhymney
Evans, Mr. E. R, Emma Street, Llanelly
Evans, Dr. R. D, Ffestiniog (2 copies)
Evans, Capt. Thos, Cwmavon
Evans, Mr. D, Bee Hive, Nantymoel, Ogmore Valley
Evans, Mr. R, Penrhiwfer
Evans, Mr. E, Pont-Rhondda, Ystrad
Evans, Mr. R, Glansoch, Llangian, Pwllheli
Evans, Mr. W, Torcoed, Llantrisant
Evans. Mr. W, Kenffig Hill, Glam
Esaias, Mr. E, do
Evans, Mr. J, Mardy
Evans, Mr. W, do
Edmunds, Mr. Caswallon, Ystrad-Rhondda
Evans, Mr. David, Clydach Vale
Evans, Mr. John, do

Francis, Mr. B, Llwynypia

George, Mr. G, Draper, Mill Street, Aberdare
George, Mr. T. J, Newcastle Street, Merthyr
Gibbon, Mr. D, Treherbert

Gibbon, Mr. J. P, Ton-Ystrad
Grove, Mr. Thos, Draper, Mardy
Goodwin, Mr. Benjamin, Clydach Vale
Goodwin, Mr. Uriah, Clydach Vale
Grove, Mr. W., Grocer, Maesteg
Grey, Mr. J. J. Bulkely, Square, Llangefni
Griffiths, Mr. W, Farm, Ystrad (2 copies)
Griffiths, Mr. G, Ystrad
Griffiths, Mr. D, Kenfig Hill
Griffiths, Mr. Ll, Printer, Cwmavon
Griffiths, Mr. W, Rhymney
Griffiths, Mr. W, Llangoed (2 copies)
Griffiths, Mr. G, Park House, Cardiff (2 copies)
Griffiths, Mr. B. A, Cwmavon
Griffiths, Mr. James, Mardy
Griffiths, Mr. Thomas, Pembroke House, Treorky
Gwilym, Mr. R, Cwmbwrla
Griffiths, Mr. E, Llantwit, Nr. Pontypridd

Harris, Mr. Owen, Grocer, Mill Street, Aberdare
Harris, Mr. W, Cwmclydach
Henry, Mr. H, Mardy
Hopkins, Mr. James, Llwynypia
Howell, Mr. W. G, Ystrad-Rhondda (6 copies)
Howell, Mr. Jenkin, Printer, Aberdare
Hughes, Mr. J, Overseer, Aberdare (4 copios)
Hughes, Mr. John, High Street, Mountain Ash

Isaac, Mr. Daniel, Aberavon
Isaac, Mr. W, Pentre-Ystrad
Israel, Mr. H, Llantwit, Nr. Pontypridd

James, Mr. Jacob, Mardy, Glam
James, Mr. W, do
Jenkins, Mr. E, Rhymney
Jenkins, Mr. D, Mardy, Glam
Jenkins, Mr. T, (Cilynys), Ystrad
Jenkins, Mr. J. D, Pentre, Ystrad
Job, Mr. H, Station Inspector, Tynewydd, Ogmore Valley
Job, Mr. Thomas, Downing Street, Llanelly
John, Mr. E, Blaenllechau
John, Mr. J. W, Board School, Ynyshir
John, Mr. T. Llwynypia
John, Mr. T, Sandy Bank, Ystrad
Jones, Mr. R. T, Board School, Ton-Ystrad (2 copies
Jones, Mr. Ed, Ton-Ystrad
Jones, Mr. G, Ystrad
Jones, Mr. E, do
Jones, Mr. D, Kenfig Hill

Jones, Mr. T, Pontmorlais, Merthyr
Jones, Mr. H, Merthyr
Jones, Mr. R, do
Jones, Mr. T. B, Market Square, Merthyr
Jones, Mr. W, Thomas Street, do
Jones, Mr. D, Ystrad
Jones, Mr. G. R, Faerdref, Bottwnog, Pwllheli
Jones, Mr. J, Seler, Bottwnog, do
Jones, Mr. G. Seler, Bottwnog, do
Jones, Mr. J, Chemist, Castle Square, Caernarvon
Jones, Mr. G. 307, High Street, Bangor
Jones, Mr. D, Mill Street, Aberdare
Jones, Mr. J, Smith, Ton-Ystrad
Jones, Mr. T, Trealaw
Jones, Mr. T, Pandy
Jones, Mr. E. Daniel, Rhymney
Jones, Mr. Albert, Llantrisant
Jones, Mr. T, Mwyndy Terrace, Llantrisant
Jones, Mr. E. Ll, Park Terrace, Upper Bangor, (12 copies)
Jones, Mr. R, Marine Terrace, Llanelly
Jones, Mr. R, Grocer, &c., Ton-Ystrad
Jones, Mr. J. B, Draper, Clydach
Jones, Mr. W, Mason, Mardy
Jones, Mr. D, Mardy
Jones, Mr. J. D, do
Jones, Mr. J. R, do
Jones, Mr. S, Blaenau, Mon
Jones, Mr. John, Clydach Vale
Jones, Mr. Griffith, Efailfach, Garn, Carnarvon
Jones, Mr. Thomas, London Street, Mountain Ash
Jones, Mr. John (Ioan Eifion), Talysarn, Caernarvon

Kinsey, Mr. J, Grocer, Treherbert

Lawrence, Mr. B, (Eryr Morganwg), Swansea
Lewis, Mr. Ed, Ton-Ystrad
Lewis, Mr. Lewis, Ystrad (2 copies)
Lewis, Mr. R. S, (Homo Ddu), Llwynypia (2 copies)
Lewis, Mr S F, Draper, Treorky
Lewis, Mr. H, Draper, Mill Street, Aberdare
Lewis, Mr. J, Llwynypia
Lewis, Mr. W, Tonypandy
Lewis, Mr. O, Park Villa, Mornington Road, London
Llewelyn, Mr. M, 3, Miskin Street, Treherbert
Leyshon, Mr. W, Upper Regent Street, Aberdare (2 copies)
Lloyd, Mr. J, Draper, Pentre
Lloyd, Mr. J, Llwynypia
Lloyd, Mr. Joshua, do
Lloyd, Mr. John, do

Longdon, Mr. H, Aberavon
Lloyd, Mr. G, Ystrad (2 copies)
Lloyd, Mr. E, do

Meredith, Mr. Ed, Grocer, Llwynypia (2 copies)
Meredith, Mr. A, Llwynypia
Miles, Mr. S. L, Grocer, Pentre
Miles, Mr. J, Schoolmaster, Pentraeth
Michael, Mr. D, Cwmavon
Miller, Mr. W, do
Morgan, Mr. H, Chemist, 34, Tavistock Place, London
Morgan, Mr. Ed, Ystrad
Morgan, Mr. J, Grocer, Treorky (2 copies)
Morgans, Mr. M. T, Mount Cottage, Mill Street, Aberdare
Morgan, Mr. R, Tonypandy
Morgan, Mr. D, Cwmavon
Morgan, Mr. T, do
Morgan, Mr. D, Treorky
Morgans, Mr. J, Dining Rooms, Cardiff
Morgans, Mr. E, Coalbrook Vale, Nantyglo
Morgans, Mr. W, Tailor & Draper, Pentre
Morrish, Mr. J, Aberavon
Morris, Mr. J, Llewelyn Street, Pentre
Moses, Mr. Thos, Glynneath, Glam
Morris, Mr. Wm, 4, High Street, Mountain Ash
Morris, Mr. George, Craig Street, do

Owens, Mr. J, Taff Vale House, Merthyr
Owens, Mr. E, Cwm Clydach
Owen, Mr. H, Brynycoed, Talysarn

Parry, Mr. Wm, Clydach Vale
Parry, Mr. Chas, Llantrisant
Phillips, Mr. J, Copper Works Road, Llanelly
Phillips, Mr. J, Maesgwyn, Ton-Ystrad
Powell, Mr. M, Llwynypia
Price, Mr. J, Georgetown, Merthyr
Price, Mr. D. O, Post Office, Criccieth
Price, Mr. R, Segontuim Terrace, Caernarvon
Phillips, Mr. D, Grocer, Ystrad
Pritchard, Mr. G, Plasgwyn, Bottwnog, Pwllheli (2 copies)
Pritchard, Mr. J, Ynysgainganol, Criccieth
Prosser, Mr. J, Rhymney
Phillips, Mr. W, Ystrad-Rhondda
Phillips, Mr. Jacob, Clydach Vale
Price, Mr. Howell, do
Powell, Miss Lizzie, Ystrad-Rhondda
Phillips, Mr G, Newtown

Ray, Mr. Jacob, Manager, Ton-Ystrad (2 copies)
Rees, Mr. D, King's Head, Ystrad
Rees, Mr. W, Ystrad
Rees, Mr. D, Chemist, London
Rees, Mr. J, Llantrisant
Rees, Mrs. E, Cwmavon
Rees, Mr. T, Comet Street, Cardiff
Rich, Mr. T, Grocer, Merthyr
Richards, Mr. G, Ivor Hael, Llwynypia
Richards, Mr. D, Tonypandy
Richards, Mr. B, Cwmavon
Richards, Mr. G, do
Richards, Mr. J, Mardy
Roberts, Mr. R, Chemist, Pwllheli
Roberts, Mr. J, Pool Street, Caernarvon
Roberts, Mr. R, Gelert Street, do
Roberts, Mr. D, Mardy
Roberts, Mr. E, The Willows, Liverpool
Roberts, Mr. R, Ponkey, Rhos
Roberts, Mr. W, Penystumllyn, Criccieth
Roderick, Mr. Chas, Ystrad-Rhondda
Roderick, Mr. R, Merthyr
Rogers, Mr. J, Kenfig Hill
Rogers, Mr. O, Rhymney
Rogers, Mr. J, High Street, Pentre
Rowlands, Mr. G, 19, Sherborne Lane, City, London
Roblin, Mr. T, Llantwit, Nr. Pontypridd
Rees, Mr. Thos, Commercial Street, Mountain Ash

Sherlock, Mr. J, William Terrace, Llanelly
Salathiel, Mr. T, Manager, Pentre
Saunders, Mr. J, Ystrad
Stephens, Mr. G, Cwmavon

Thomas, Mr. J, Kenfig Hill
Thomas, Mr. B, Thomastown, Merthyr
Thomas, Mr. D, Grocer, Trealaw
Thomas, Mr. D. S, Bazaar, Ystrad-Rhondda (2 copies)
Thomas, Mr. T, Grocer, do
Thomas, Mr. D, Ton-Ystrad (2 copies)
Thomas, Mr. T, Draper, Ystrad-Rhondda
Thomas, Mr. Enoch, Rhos, Denbighshire
Thomas, Mr. Hazael, (Eli Cribwr), Gilfach Goch (2 copies)
Thomas, Mr. D, Ystrad-Rhondda
Thomas, Mr. D, School Cottage, Rhymney
Thomas, Mr. D, Chapel Street, Ton-Ystrad
Thomas, Mr. H, East Road, Tylorstown
Thomas, Mr. J. H, Draper, Porth
Thomas, Mr. T. Foundry, Ton-Ystrad

Thomas, Mr. Isaac, Whitchurch, Cardiff
Thomas, Mr. D, Caroline Street, Llanelly
Thomas, Mr. Evan, Mardy
Thomas, Mr. James, do
Thomas, Mr. John, Morriston
Thomas, Mr. D. R, Glenview Cottage, Pentre
Thomas, Mr. T, Red Cow, Treorky
Thomas, Mr. D, Grocer, Pentre
Thomas, Mr. W, Attendance Officer, Treorky
Thomas, Mr. Alfred, J.P., Ex-Mayor of Cardiff (2 copies)
Treharne, Mr. D, Pentre House, Pentre
Thomas, Mr. Edward, Clydach Vale
Thomas, Mr. Ioan, Vaughan Terrace, Glynneath
Thomas, Mr. John, Railway Terrace, Talysarn

Walters, Mr. J, Pengam, Mon (2 copies)
Walters, Mr. J, Grocer, Treherbert
Watkins, Mr. Thos, Llantrisant
Ware, Mr, D, Aberavon
Williams, Mr. J, Tylorstown (3 copies)
Williams, Mr. Idris, Porth
Williams, Mr. T, (Llanelli), Ystrad-Rhondda
Williams, Mr. Ed, Grocer, Kenfig Hill
Williams, Mr. D, Union Street, Merthyr
Williams, Mr. W, Merthyr
Williams, Mr. D, 2, Richmond Crescent, Cardiff (2 copies)
Williams, Mr. L, Pembroke House, Pentre
Williams, Mr. D, Butcher, Penygraig (2 copies)
Williams, Mr. R, Post Office, Bottwnog, Pwllheli
Williams, Mr. R, Daeardy, Bottwnog do
Williams, Mr. G, Tithebarn Street, Caernarvon
Williams, Mr. W, Farm, Ystrad-Rhondda
Williams, Mr. W, Lower Thomas Street, Merthyr (2 copies)
Williams, Mr. Thos, Tonypandy
Williams, Mr. E, do
Williams, Mr. Rees, Rhymney
Williams, Mr. H, do
Williams, Mr. W, Bookseller, Tonypandy
Williams, Mr. T, Llantrisant
Williams, Mr. D, Bodringallt Arms, Ystrad
Williams, Mr. R, Mona House, Holyhead
Williams, Mr. W, Board School, Clydach Vale
Williams, Mr. W, Lon Lâs, Mynytho, Pwllheli
Williams, Mr. J. P, Tonyrefail
Williams, Dr. R, Surgery, Nantymoel, Ogmore Valley
Williams, Mr. R, Garn
Williams, Mr. R. P, do
Williams, Mrs. E, Snowden View, Talysarn
Williams, Mrs. M, Cwmavon

Williams, Mr. D, Llantwit, Nr. Pontypridd
Williams, Mr. Thos, do do
Williams, Mr. R, 96, Ellor Street, Pendleton, Manchester
Williams, Mr. John, Mostyn Quay, Mostyn
Williams, Miss M. A, Blaenllechau

Yorath, Mr. D, (Eos Hafod), Ystrad-Rhondda

DOSPARTH A. WILLIAMS YN YR YSGOL SABBOTHOL.

Charles, Mr. L, Ystrad
Evans, Mr. Evan, Gas Row, Ystrad
Evans, Mr. John, Victoria Street, Ystrad
Evans, Mr. Wm, Arthur Street do
Griffiths, Mr. Wm, Heolfach, do
Jenkins, Mr. Jno, do do
Lewis, Mr. Wm, do do
Morgan, Mr. Ed, do do
Saunders, Mr. G, do do
Saunders, Mr Wm, do do
Thomas, Mr. John, (Pembrey) do
Thomas, Mr. Jonathan, Heolfach, do
Thomas, Mr. Wm, do do
Williams, Mr. Wm, do do
Williams, Mr. D, do do

